*E.P.C. Welsh Drama Series, No. 28*

# Castell Martin

*COMEDI MEWN PEDAIR ACT*

*Gan*

*D. T. DAVIES*

*Awdur "Ble Ma Fa," "Ephraim Harris," "Y Pwyllgor," "Ffrois," a "Branwen Ferch Llŷr."*



THE EDUCATIONAL PUBLISHING CO., LTD.,
CARDIFF AND LONDON.

*E.P.C. Welsh Drama Series, No. 28*

# CASTELL MARTIN

*COMEDI MEWN PEDAIR ACT*

*Gan*

*D. T. DAVIES*

*Awdur "Ble Ma Fa," "Ephraim Harris,"*
*"Y Pwyllgor," "Ffrois," a "Branwen."*



CARDIFF:
THE EDUCATIONAL PUBLISHING Co., Ltd.
LONDON: 9, SOUTHAMPTON STREET, HOLBORN, W.C. 1.

## CYMERIADAU:

| | |
|---|---|
| NATHANIEL MORGAN | Ymgeisydd yn Etholiad Llanybryn. |
| SIENCYN BIFAN - - | Ymgeisydd arall. |
| DR. TUDOR BIFAN, M.O.H. | - Mab Siencyn. |
| ISAAC LEWIS - - | Eilliwr y Pentref. |
| RHYS PRITCHARD - - - | Crydd. |
| DAFYDD PETERS - | Dirprwywr Yswiriant. |
| TOMOS JONES | Clebryn a checryn y Pentref. |
| SAMSON EDWARDS - | Gôf y Pentref. |
| TIM WATKINS - | Brodor o Gwm Lluest. |
| Y PARCH. JOHN JONES - | Ficer Llanybryn. |
| MARGED ANN - | - Teuluyddes Nathaniel. |
| RHIANNON - - - | Merch Nathaniel. |
| CRIWR A PHENTREFWYR. | |

AMSER :

Y Presennol.

LLE :

Llanybryn, Pentref yng Nghymru.

YR ACT GYNTAF :

Siop Isaac y Barbwr.

YR AIL ACT :

Cegin Nathaniel.

Y DRYDEDD ACT :

Siop Isaac.

Y BEDWAREDD ACT :

Tu allan i fynwent eglwys Llanybryn.

# CASTELL MARTIN.

## YR ACT GYNTAF.

ADEG: *Y presennol, prynhawnddydd haf.*

LLE: *Siop y Barbwr yn Llanybryn.*

[*Y mae* ISAAC LEWIS, *y barbwr, yn cyweirio glawlen ac mewn tipyn o helbul gyda'r gorchwyl. Gŵr tua thrigain oed ydyw* ISAAC, *cymharol dal, teneu, yn magu dwy locsen gochlyd, ei wallt yn britho ac yn tueddu i ddiflannu yng nghwmpas ei gorun.*

*Saif y siop ar sgwâr y pentre, a thrwy ei ffenestr lydan, gwelir esgyn-faen neu garregfarch. Dyma areithfa gwleidyddwyr y pentref ers oesau, os nad eu pulpud hefyd. Yn wir, honnir gan rai i Hywel Harris, ac hyd yn oed Whitefield bregethu oddiarni yng nghyffroad mawr y ddeunawfed ganrif, er nad oes sicrwydd diymwad o hynny.*

*Parthed yr ystafell; cadair eillio yn agos i'r ffenestr, ac offer arferol barbwr ar fwrdd gerllaw; meinciau oddiamgylch, ac addurnir y muriau â gwahanol almanaciau, hysbysebau ynglŷn â ffeiriau, bwydydd a meddyginiaethau gwartheg, defaid, moch*

*a cheffylau. Drws y siop yn y cefn ar y dde, ac un arall yn arwain i gorff y tŷ.*

*Yn union, ymddengys* NATHANIEL MORGAN *o'r tu allan. Cymro byr, gwydn, a chryn led yn ei ysgwyddau ydyw* NATHANIEL, *tua hanner cant oed; ei ymadrodd yn gyflym, a'i symudiadau, fel rheol, yn chwim. Eithr cerdd yn awr braidd yn llesg, a golwg ofidus ar ei wynepryd.*]

ISAAC: A shwt ych-chi heddy, Nathanial?

NATHANIEL (*yn alarus*): O, tewch sôn,—tewch sôn.

ISAAC: Beth sy'n bod nawr?

NATHANIEL: Beth sy'n bod yn wir! Gofid a thrallod; dyn a anad o wraig . . . ia, ia . . . wn-i yn y byd ffordd wy-i wedi llwyddo i fyw c'yd, yn hercan fel hyn o helbul i helbul. (*Eistedd yn ddiymadferth mewn cadair freichiau.*)

ISAAC: Wel, beth sy 'ta? 'Dyw Marged Ann ddim yn teimlo'n dda?

NATHANIEL: Y chi a'ch Marged Ann! 'Rwy'n synnu at hen lanc calon-galad fel chi, Isaac, yn clepran am 'i Farged Ann byth a hefyd.

ISAAC: Gesoch-chi newydd drwg odd'wrth Riannon?

NATHANIEL: Dim mwy nag arfar. Arian—mo'yn arian beunydd—het newydd bob yn ail ddydd, a gŵn shidan, am wn i, bob yn ail wthnos.

ISAAC: Wel, 'rych-chi'n tynnu gwep ofnatw. Beth gynllwn sy'n bod?

NATHANIEL: Fe wyddoch am yr hen fuwch ddu 'na, honna â'r cyrn hir?

ISAAC: Honno gwmpws dros ben cwar Shon Ifan?

NATHANIEL: Wel am nace'r dyn; gwell buwch na honno, a Chastall Martin bob blewyn o heni.

ISAAC: O gwn; y hi ath â'r *first prize* yn Llantrisant flynydda'n ol.

NATHANIEL: Ia, ia; dyna hi.

ISAAC: Beth sy arni?

NATHANIEL: O ma-hi'n dost—ma hi yn dost.

ISAAC: Pam na fynnwch chi *vet.* idd 'i gweld hi?

NATHANIEL: *Vet!* Rwy-i wedi bod yn trafod craduriad nawr ys deugan mlynadd, a dim ond teirgwaith yr etho-i at *vet.* eriod.

ISAAC: 'Dôs gita-chi ddim llawar o ffydd miwn *vets.*, Nathanial.

NATHANIEL: Nagos gen-i. Fe ddath y cynta i weld ci, a fe fu'r ci farw; fe ddath yr ail i weld llo, a fe fu'r llo farw; fe ddath y trytydd i weld mochyn, a fe fysa'n llawar shepach i fi tsa'r mochyn wedi marw hefyd!

ISAAC: Fe ddylsach gisho i châl hi i fyta rwpath.

NATHANIEL : 'Rwy wedi trio a thrio ; *bran mash* a'r blawd cyrch gora, â'm llaw ym hunan—na, dim stumog !

ISAAC : Wel, pitwch a gofitio Nathanial ; 'ryn-ni i gyd yn llaw Ragluniath, a dyna fel ôdd hi i fod. Ma-hi wedi bod yn fuwch dda i chi.

NATHANIEL : Buwch dda digynnyg.

ISAAC : A fe gesoch loi ardderchog odd'wrthi.

NATHANIEL : Fuws eriod 'u tepyg nhw !

ISAAC : A faint o arian nethoch-chi o'i llath hi, yn gaws a menyn ?

NATHANIEL : Ugeina ar ugeina o bunna.

ISAAC : Wel pam andras ych-chi'n cwyno cymant ! Welas-i eriod o'ch bath chi : fe allsach ffwrdo colli deg buwch y funad 'ma yn well na allsa llawar i ffarmwr golli cyw giar, a dyma chi, a'ch wynab c'yd â 'mraich i, am fod cratur dicyn yn anhwylus yn 'i henant. 'Rwy'n synnu atoch-chi, Nathanial, a chitha'n meddwl sefyll lecshwn fel *Rural District Councillor.*

NATHANIEL : *Rural District Councillor* yn wir : gadewch ych clepar da chi ! Fe geso'i newydd torcalonnus odd'wrth Tomos Griffith heddy. Wyddoch-chi faint gostws-hi iddo fe sefyll y lecshwn ddwetha ?

ISAAC : Na wn-i.

NATHANIEL : Petar punt, saith swllt, a thair cinog.

ISAAC: O, 'dych-chi ddim am fod yn *Councillor* nawr, o herwydd ychytig o bunna raid i chi wario. 'Rych-chi'n folon i Siencyn Bifan i gâl hewl glir ar ol i chi dyngu y bysach-chi yn 'i faeddu-fa ?

NATHANIEL: Pwy wetws nag ôn-i'n folon ! Fe'i maedda-fa tsa hi'n costi deugan punt i fi.

ISAAC: Petar punt, saith swllt, a thair cinog,— a chitha'n werth ych pwysa ! Dishgwlwch 'ma, os na faeddwch-chi Siencyn, fe fyddwn yn destun sport i gôr Carmel tra bo canu'n bod.

NATHANIEL: I faeddu-fa, gnaf, fe'i maedda-fa, tsa hi'n costi can punt i fi.

ISAAC: Dyna chi'n sharad rwpath yn depyg i reswm nawr.

NATHANIEL: Ond' dwy-i ddim am wario mwy na mwy. O ia, sgrifensoch-chi'r *election address* eto ?

ISAAC: Naddo ; ond 'rwy wedi bod yn meddwl. 'Dych-chi damad gwell o fod miwn brys gita'r *address*, Nathanial. Ma'n rhaid i chi feddwl a meddwl. 'Rwy wedi gofyn i Rhys Pritchard, Tomos Jones, a Dafydd Peters i ddod yma i'ch helpu chi, dynon o ddylanwad, bob un o honyn nhw. O otw, 'rwy wedi bod yn meddwl a chysitro.

(NATHANIEL *yn gollwng ei adenydd eto.*)

NATHANIEL: Ffolinab o'r mwya ôdd i chi f'enwi i ar gyfar lecshwn, Isaac. Fwriatws y Brenin Mawr eriod i fi fod yn *Rural District*

*Councillor,* a fydda-i byth yn depyg i un chwaith. (*Yn ffyrnigo.*) Ond ma'n rhaid i fi faeddu Siencyn. Y *coward,* ofan arno ddod â'i gôr yn erbyn 'y nghôr i unwaith yn racor, ofan arno roi cyfla arall i fi ! 'I faeddu-a, gnaf, fe'i maedda-fa !

ISAAC : Gadewch y côr yn llonydd ar hyn o bryd, Nathanial. *Politics* yw-hi nawr, cofiwch, a nid cerddoriath. Ma'n rhaid i chi gisho meddwl fel fi. Fe fuas-i wrthi nithwr, ar asgwrn 'y ngefan yn y gwely, yn pondro a phondro, heb gysgu llygetyn nes bo'r wawr yn torri, a ma-hi'n dod i hyn : 'dôs 'na ddim llawar ynddi rhyngto chi a Siencyn yn y petwar capal, a felny, os gallwch-chi ennill fôts gwŷr yr Eclws, fe faeddwch Siencyn yn yfflon.

NATHANIEL : Pitwch a sharad mor ffôl, Isaac ; 'dos 'na ddim eglwyswr fotiff drosto i.

ISAAC : Ma'n rhaid iddyn nhw foto drosto-chi, ryw-shap ne'i gilydd. Os, ma'n rhaid i ni gâl fôts yr Eclws. (*Mewn helbul neilltuol gyda'r wlawlen.*) Wel, 'rw-i wedi câl dicon o draffarth gita'r Eclws y bora 'ma, ta pun. 'Rwy wedi bod dros ddwy awr yn cisho cwiro hwn.

NATHANIEL : Pwy pia fa ?

ISAAC : O ! 'r Ficar ; brelo ryfadd yw hwn ; 'rwy wedi bod yn 'i gwiro fa, o bryd i bryd, am ddeng mlynadd ne fwy.

NATHANIEL : Rhaid mai brelo da ôdd-a i ddechra.

ISAAC: Ma-fa wedi bod yn sawl brelo odd'ar hynny; 'dôs 'na ddim o'r hen un ar ol nawr ond y ddolan. Odd-a i fod yn barod amsar cino, hefyd; peth od na fysa'r Ficar wedi galw.

(*Y* FICER *yn ymddangos wrth y drws.*)

Y FICER: Ydi'n umbrela i'n barod, Isaac?

ISAAC: 'Rwy'n 'i gwpla fa nawr, Mr. Jones. Dewch miwn.

(*Y* FICER *yn dod i mewn, a rhôl hir o bapurau dan ei gesail. Cardi cadarn tua'r canol oed ydyw'r* FICER. *Cenfydd* NATHANIEL.)

Y FICER: A——, shwd ych-chi heddy, Mr. Morgan? Shwd ma'r lecshwn yn dod ymlân?

NATHANIEL: Yn dda iawn, diolch i chi, yn dda iawn, yn wir.

Y FICER: 'Rwy'n disgwyl gweld *close fight* rhyngoch-chi a Mr. Bifan. 'Rych chi'ch dau wedi cyd-gystadlu'n barod fel arweinwyr core, yn ddau Ryddfrydwr mor selog, ac hefyd yn Ymneilltuwyr i'r carn—*fight* yn iawn fydd hi, 'rwy'n siwr.

ISAAC: Dyna beth wy inna'n wêd hefyd, Mr. Jones; y *fight* ora fuws yn Llanybryn eriod. Shwt ma'r *Bazaar* yn dod mlân?

Y FICER: O'r gore, diolch i chi. Dim ond wythnos sydd gyda ni nawr, a felny, 'rwy'n mynd ag ychydig o'r *posters* yma oddi amgylch. Welsoch-chi un o'n *posters* mawr ni?

ISAAC: Dim ond o bell, Mr. Jones.

(*Dadlenna'r* FICER *hysbyslen fawr o'r Bazaar.*) Wel, dyna beth yw postar, ontefa ! Os dim un gita chi i spario, Mr. Jones ?

Y FICER : 'Rych-chi'n garedig neilltuol, Isaac. Fel y gwyddoch-chi, fydda-i byth yn aflonyddu dim ar y cyfeillion ymneilltuol, ond gan ych bod chi cystal a gofyn, fe gewch un gyda'r pleser mwya.

ISAAC : Pitwch a sôn, Mr. Jones, pitwch a sôn ; a diolch yn fawr i chitha. Os ôs 'na rwpath y galla-i neud yn fy ffordd fach i, 'dôs gita-chi ddim ond gwêd hannar gair. (*Yn syllu ar y furlen.*) Cato'n pawb ! Arglwyddas Llanharan yn dod i acor y *Bazaar ! Bazaar* ardderchog fydd hwn, Mr. Jones.

Y FICER : Y mae yr Arglwyddes yn cymryd diddordeb mawr yn ein gwaith ni yma ; fe gyfrannodd ugen punt. 'Rwy'n bwriadu cyhoeddi enwau y cyfranwyr yn y *Gazette* yr wythnos nesa.

ISAAC : Itha *right* hefyd : ond fe fydd 'na un enw'n isha, ddylsa fod ar y rhestar.

Y FICER : O——enw pwy ?

(*Ysguba* ISAAC *ei fraich yn fawreddog i gyfeiriad* NATHANIEL *yr hwn sydd wedi bod yn ddigon call i beidio lluddias dim ar waith da yr eilliwr drwy yngan gair.*)

ISAAC : Nathanial Morgan, *Esq.* Pam na ofynnwch-chi iddo fe gyfrannu rwpath ?

Y FICER: Fel y dwedes-i, fydda-i nemor byth yn mynd at y gwahanol enwade i ofyn am arian, er mod-i wastad yn barod i dderbyn unrhyw gyfraniade. Gaf-fi osod ych enw chi lawr am bum punt Mr. Morgan?

NATHANIEL (*mewn braw*): Pum punt! Na chewch yn wir!

Y FICER: Dwy neu dair gini, ynte?

NATHANIEL: O na 'lla'n wir, na 'lla'n wir!

ISAAC (*yn gyflym*): Fe wyddoch o'r gora, Mr. Jones, shwt ma'r ffermwyr 'ma: fe gewch fencyd ceffyl a cart am wthnos ne' racor a chroeso, ac os bydd hi'n galad iawn arnoch-chi, 'dôs fawr gwaniath gan amball i ffarmwr i *roi* ceffyl a chart i chi, ond ma'r un man i chi gisho câl wech ne swllt odd'wrthyn-nhw, a chasglu ffigys odd'ar ysgall. Ma gen-i well syniad na roi pum punt, lawar gwell.

Y FICER (*yn awyddus*): Ie?

ISAAC (*dipyn yn gyfrinachol*): Fysa buwch o rhyw les i chi?

Y FICER: Beth ddwedsoch-chi?

ISAAC: Fysa buwch o ryw ddefnydd i chi?

Y FICER: Bobol annwl——buwch!

ISAAC: Ia, buwch.

Y FICER: Beth yn y byd wnaen-ni â buwch?

ISAAC: O ma 'na wmradd o betha y gallach-chi neud â buwch, Mr. Jones.

Y FICER : Wel, ffordd ynte ?

ISAAC : Beth tsa-chi yn 'i rafflo-hi yn y *Bazaar ?*

Y FICER (*yn llawen*) : Dyna awgrym penigamp !

ISAAC : Allwch-chi ddim doti buwch lawr yn y cyfraniata, falla, ond tsa chi ddim ond hysbysu yn y *Gazette* fod 'na fuwch, rial Castall Martin, yn gotro ucian cwart y dydd, idd 'i rafflo yn y *Bazaar,* tocynna, wech chinog—na, beth wy'n sôn, tocynna, swllt yr un—fe fysa hynny'n ddicon gwell na phum punt i chi.

Y FICER : Ie'n well na phum punt—bydde o lawer ! Ond bid siwr, mae'n dibynnu ar Mr. Morgan: ydi e'n fodlon rhoi buwch ?

ISAAC : 'Dos dim raid i chi ofni, Mr. Jones. (*Yn troi at* NATHANIEL.) 'Rych-chi'n folon roi buwch, on'd ych-chi Nathanial ?

NATHANIEL (*yn betrusol*) : Wel—am wn-i (*yn fwy pendant*)—otw, 'rwy'n folon roi buwch.

Y FICER : Diolch i chi o galon, Mr. Morgan, am ych haelfrydedd.

ISAAC : A falla byddwch chi cystlad a chyhoeddi 'r un pryd, Mr. Jones, fod y cratur yn cal 'i rhoi gan Nathanial Morgan, *Esq.*, un o ymgeiswyr lecshwn y *Rural District Council ?*

Y FICER (*yn chwerthin*) : Ha, ha ; wel o'r gore, 'dos wahaniath yn y byd gen-i, a 'rwy'n sicr

y bydd y plwyfolion yn teimlo'n gynnes tuag at Mr. Morgan pan clywan-nhw'r newydd da.

(*Y mae* ISAAC *yn crogi'r hysbyslen ar y mur.*) Gresyn na fyse ni wedi meddwl am hyn cyn argraffu'r *posters.*

ISAAC : Ma'n rhaid i chi gal *handbills,* Mr. Jones, a'u dosbarthu nhw ym mhobman. Chwalwch nhw i betwar cwr y byd. Sôn am *Fazaar,* hwn fydd y mwya fu eriod yng Nghymru ; fe newch hannar can-punt o'r fuwch yn y man lleia—tocynna swllt yr un, ddim dima'n llai.

Y FICER (*yn frwdfrydig*) : Rhaid argraffu y tocynne ar unwaith.

ISAAC : A ma'r un man i chi hysbysu ar y tocynna a'r *handbills* mai rhodd Nathanial Morgan yw y fuwch.

Y FICER : Fe fydd yn ddigon hawdd gwneud hynny.

ISAAC : Hannar can punt, yn wir, fe newch gan-punt o heni yn ddidraffarth ; nid yn unig y plwyf, fe fydd yr oll shir yn y *Bazaar.*

Y FICER : 'Rwy'n sicr y bydd y fuwch yn atyniad cryf, a 'rwy'n dymuno eto i ddatgan fy niolchgarwch i chi, Mr. Morgan.

NATHANIEL (*yn anghysurus*) : Pob croeso i chi, Mr. Jones, pob croeso.

Y FICER (*mewn brys*) : Rhaid i fi fynd nawr ; p'nawn da, a diolch yn fawr i chi.

NATHANIEL AC ISAAC : P'nawn-da.

Y FICER (*yn troi'n ol wrth y drws*) : O, Isaac, faint sydd arna-i am wella'r *umbrella ?*

ISAAC (*yn haelfrydig iawn*) : Dim yn y byd, Mr. Jones, dim o gwbwl ; fuas-i ddim tair munad wrtho-fa.

Y FICER (*yn mynd*) : Diolch yn fawr, Isaac. P'nawn-da.

ISAAC A NATHANIEL : P'nawn da.

(*Erys* ISAAC *a* NATHANIEL *yn llonydd am dipyn. Saif* ISAAC *ar ganol y llawr, gan ledu ei goesau yn falch a meistrolgar, a'i fodiau dan ei geseiliau.*)

ISAAC (*yn rhodresgar*) : Dyna ni wedi 'i gneud-hi, Nathanial : 'ryn-ni wedi ennill y lecshwn acha un ercyd ! Be'chi'n feddwl amdano i nawr ? Ond wetas-i wrthoch-chi—yn y byd politicadd, ma'n rhaid i ddyn feddwl a chysitro.

NATHANIEL : Dyn clefar iawn ych-chi, Isaac, clefar iawn hefyd, a fydda-i ddim yn fyr o dalu'n ol pan ddaw cyfla.

ISAAC : Fe wyddoch o'r gora 'runig dalu'n ol wy-i'n moyn (*yn dyner iawn*) gwetwch air bach drosto-i wrth Marged Ann.

NATHANIEL : Os dim llawar o opath i chi man'na, Isaac. Ych trin a'ch trafod chi ma Marged Ann wastod. A phwy isha i chi drafferthu ynglŷn â Marged Ann, hen fab fel chi, bron trician ôd ? Ma-hi o'r gora i ofalu am y tŷ i fi, a ma hi'n

garetig iawn i Riannon, ond 'dwy-i ddim yn gweld llawar o rân arni fel gwraig i chi. Ma hi wedi gweld 'i hamsar gora ys blynydda ; 'dos dim byd yn bert yndi ; ma hi mor dew a mwtwl, a tsa chi ddim ond 'i gweld hi miwn pang o dymar—— (*yn codi ei ddwylo*).

ISAAC : Alla-i ddim help, Nathanial. 'Rwy'n gryf ymhob ffordd arall, ond os caiff cariad afal ar ddyn, 'dyw-a damad gwell, ys gwetws yr Ysgrythur, o wingo yn erbyn y symbyla. 'Rwy wedi achub yn dda iawn ar hyd y blynydda, hyd yn hyn, ond 'nawr, dim ond i fi feddwl am Marged Ann, ne weld 'i shôl hi'n hongian ar y lein, 'rwy'n teimlo mod-i'n mynd yn yfflon. (*Yn erfyniol.*) Gwetwch air bach drosto-i, Nathanial, 'rwy wedi ennill y lecshwn i chi.

NATHANIEL : Am wn-i nag ych-chi'n wir.

ISAAC : 'Rwy'n siwr o hynny. Pwy fuwch roiwch-chi ?

NATHANIEL : Eh ?

ISAAC : Pwy fuwch roiwch-chi ?

NATHANIEL (*yn synn*) : Ond wetsoch-chi wrth y Ficar ych hunan—yr hen fuwch ddu.

ISAAC : Do, do ; odd yn rhaid i fi wêd rwpath. Ond fysach chi byth o'r gydwypod i roi hen fuwch â thair côs iddi yn y bedd i Fazaar yr Eclws !

NATHANIEL : Fyswn-i byth o'r gydwypod i neud dim byd arall. 'Drychwch 'ma, Isaac,

gadewch i ni ddiall y'n gilydd : fuws 'na ddyn eriod yn gryfach Anghydffurfiwr na fi ?

ISAAC : Ddim eriod.

NATHANIEL : Ymladdws rywun yn y wlad yn gletach na fi dros Ddatgysylltiad a Dadwaddoliad ?

ISAAC : Dim enad byw.

NATHANIEL : Ag eto, 'rych chi'n meddwl mod-i'n ddicon ffôl i roi buwch ifanc iach i Eclws Loegar !

ISAAC : Allwch chi byth a roi'r hen gratur 'na !

NATHANIEL : Pam lai ? Dyna'r fuwch addewas i ; y chi'ch hunan disgrifiws hi—Castall Martin, yn gotro ucian cwart y dydd. Ma'n rhaid i ni gatw at yn gair nawr.

ISAAC : Os gita-chi ddim un Castall Martin arall ?

NATHANIEL : Nagos gen-i, a fe wyddach-chitha hynny o'r gora.

ISAAC : Na wyddwn-i. Beth os bydd hon farw ?

NATHANIEL (*yn ofidus*) : Marw ! Be 'chi'n gisho wêd, Isaac ?

ISAAC : Fe fydd rhaid i chi roi buwch arall wetyn.

NATHANIEL : Bydd-a'n wir ! 'Rych-chi wedi neud rhyw gawl ryfadd wedi'r cwbwl, gita'ch meddwl, a'ch cysitro, a'ch pondro !

ISAAC : O'r gora, o'r gora ; dim gair arall ! Fe af-fi ar ol y Ficar nawr cyn cyraeddiff-a'r printar,

a fe esbonia-i bopath wrtho-fa. Fe gaiff ynta esbonio wrth wŷr yr Eclws, shwt o'ch-chi'n bwriatu roi hen fuwch afiach iddyn-nhw, a wetyn, fe gewn weld faint o fôts gewch chi. Y gwir ag e yw hyn: 'dych-chi ddim yn moyn maeddu Siencyn Bifan.

NATHANIEL: Nagw-i'n wir!

ISAAC: Nagych; 'rych-chi'n folon i gôr Carmal i glochtar drosto-ni tra bo ni byw. Dyma fi'n mynd! (*Yn brysio tuag at y drws.*)

NATHANIEL: Hannar munad. (*Erys* ISAAC.) Fe arhoswn nes bo ni'n gweld beth yw teimlad gwŷr yr Eclws: os byddan-nhw'n depyg o ochri gita ni, wel, fe gewn weld.

(*Dychwel* ISAAC, *ac yn union daw* TOMOS JONES, RHYS PRITCHARD, *a* DAFYDD PETERS *i mewn. Ar ol cyfarch gwell, eisteddant ar y meinciau. Gŵr tal, henaidd, sobr ei wedd ydyw* PRITCHARD. *Y mae* PETERS *yn iau,—tua deugain oed—yn fwy trwsiadus a bywiog.* TOMOS JONES *yn dew, ychydig yn hŷn na* PHETERS; *ac yn afler a diog ei olwg.*)

NATHANIEL: Wel, ma'r un man i ni ddechra; 'dos 'na ddim amsar i golli.

ISAAC: Dyna chi eto, wastod miwn brys, yn poeni a gofitio. Ma 'na ddicon o amsar, llawn dicon. Wel, gyfeillion, 'rwy wedi gofyn i chi ddod yma i fod yn bwyllgor i Nathanial Morgan. Y fi yw 'i agant-a, chi'n gweld. Fuas-i wthnos gyfan, ar dro, yn meddwl

pwy i ddoti ar y pwyllgor, a 'rwy'n cretu mod-i wedi dewis y tri gora yn Llanybryn.

NATHANIEL: Clywch, clywch.

TOMOS JONES (*yn fawreddog*): Sgusotwch fi, Mr. Morgan, otych-chi wedi sgrifennu'ch *address?*

NATHANIEL: O, nagw.

TOMOS JONES: Ma'n dda iawn gen-i glwad, wath ma gen-i rwpath pwysig i ddoti yn ych *address* chi.

DAFYDD: A finna.

RHYS: A finna hefyd.

ISAAC (*wrth* NATHANIEL): Dynon o farn a syniata, 'lwch-chi. (*Yn tynnu amryw bapurau o'i logelli.*) Dyma restar y pleidleiswyr: fuas-i oria maith nithwr yn 'u rannu a'u dethol nhw: a ma-hi'n dod i hyn: ma 'na 372 o bleidleiswyr ar y restar, yn mynychu capeli fel y canlyn: Seion, capal Nathanial a finna, 94; Carmal, capal Siencyn Bifan, a wth gwrs, ych capal chitha, Tomos Jones, 87; Nebo, ych capal chi, Rhys Pritchard, 62; Pisgah, ych capal chi, Dafydd Peters, 57; 61 yn mynd i'r Eclws; cyfanswm 361.

DAFYDD: Faint wetsoch-chi ôn-nhw i gyd?

ISAAC: 372.

DAFYDD: Beth am yr un ar ddeg arall?

ISAAC: Pump gwrthgiliwr, petwar ddim yn cretu, a ma 'na ddou, wn-i ddim beth i wêd am danyn-nhw.

TOMOS JONES: Rwpath hifyr-di-hafar, na bwch na gafar.

ISAAC: Ia, ia, ond cofiwch fod gan bob un ohonyn nhw fôt.

NATHANIEL (*yn danbaid*): Nawr, Isaac, cymrwch chi bwyll. 'Dwy-i ddim am i anghredinwyr a gwrthgilwyr i foto drosto-i.

ISAAC: Ma nhw lawar mwy tepyg o foto drosto-chi na thros Siencyn. Ta pun, fe gymrwn y capeli nawr bob yn un: Carmal gynta, capal Siencyn Bifan. Chewn-ni fawr os dim fôts o Garmal.

TOMOS JONES: Pitwch a bod mor siwr (*yn taro ei fynwes*), dyma un fôt, beth bynnag, gewch-chi.

NATHANIEL: O ia, ia; 'r yn-ni gyd yn gwpod 'ny.

TOMOS JONES: 'Rwy'n mynd i ddangos i Siencyn Bifan na all a ddim troi dyn mâs o'i gôr am ddim!

NATHANIEL: Clywch, clywch.

TOMOS JONES: A dim ond achos i fi wêd 'i fod-a'n cymryd *rallentando* yn rhy gyflym yn Hendrefadog.

NATHANIEL: Itha-right, Tomos; wydda Siencyn eriod ffordd i gymryd *rallentando*.

TOMOS JONES: "Mâs â chi," mynta-fa wrtho i, wrtho i cofiwch, a 'nhad roiws y wers gynta eriod

iddo-fa ar y *Modulator.* Na, chaiff Siencyn ddim fôt gen-i, a ma 'na naw ne ddeg o fôts arall na chaiff-a chwaith, ôs, ôs, o leia naw ne ddeg.

ISAAC : Da iawn. Capal ni nesa, Seion, 94 o fôts. Fe ddylsan gal rheina i gyd ond rhyw ddwy ne dair.

NATHANIEL (*a'i wrych yn codi*) : O'n wir ! a phwy yn-nhw, licswn i wpod.

ISAAC : Hugh Parry, dyna un ; fe wrthodsoch iddo fa arwan y *Band of Hope.*

NATHANIEL : 'Dôdd-a ddim yn deilwng i arwan y *Band of Hope.*

ISAAC : 'Dwy-i ddim yn gwêd 'i fod-a, ond fe 'llwch fentro hyn ; yn ol barn Hugh Parry, fyddwch-chi ddim yn deilwng i fod yn *Rural District Councillor.* Dyna un arall, Moses Griffith, fe'i troisoch-a mâs o'r Rechabiaid.

NATHANIEL : Ond gwelas-i a'n sefyll ar ben drws y *Black Lion.*

ISAAC : 'Dwy-i ddim yn gwêd llai, ond fydd dim fôt i chi manna. Nawr, os dotwn-i Seion a Charmal gita'i gilydd, 'rwy'n barnu fod 'na fajority o ryw ucian ar ochor Nathanial.

DAFYDD : Os ucian yn rhwydd.

TOMOS JONES : A racor.

ISAAC : Beth am ych capal chi, Rhys—Nebo, 62 o fôts ?

RHYS : Fe ddylsa Nathanial gâl 40 o leia, wath ma fa'n roi mentig ca bob blwyddyn i de-parti'r plant.

ISAAC : 'Dwy-i ddim yn meddwl y caiff-a 40, gwetwch 35. Chi nesa, Dafydd—Pisgah, 57 o fôts.

DAFYDD (*yn ymddiheuriol*) : Wel a gwêd y gwir, ma hi dicyn yn lletwith. Chi'n gweld, ma-hi'n sefyll fel hyn : ma gwraig Siencyn Bifan yn gnithar i fam-yng-nghyfraith whâr gwraig yn gwinitog ni.

ISAAC : Ia, dyna'r gwaetha o-heni. Otych-chi'n cretu y caiff-a ddeg o fôts ?

DAFYDD : O caiff ; synnwn-i ddim na chelsa-fa bymthag ne falla ucian. Ma Mr. Morgan wedi neud llawar i gymwynas â chapal Pisgah. Dim ond yr wthnos ddwetha y ceson-ni fentig gambo i moyn yr *harmonium* newydd.

ISAAC : Fe wetwn bymthag. Nawr, a chymryd y petwar capal gita'i gilydd, 'dos 'na fawr o waniath rhwng un a'r llall ; falla fod gen Nathanial fantas o rhyw ddeg ne racor o fôts. Fe welwch felny fod y lecshwn yn troi ar fôts yr Eclws, a ma'n hyfryd-wch mawr gen-i i hysbysu i chi fel pwyllgor y bydd gwŷr yr Eclws o'n hochor ni bron bob un. Ma Nathanial wedi addo buwch i'r Ficar, idd 'i rafflo yr wthnos nesa.

DAFYDD : *Raffle !*

RHYS : Buwch !

ISAAC : Ia, buwch, rial Castall Martin, yn gotro ucian cwart y dydd. Dyna 'ngwaith i 'lwchi, tocynna swllt yr un.

TOMOS JONES (*yn wyliadwrus*) : Bydd caniatâd i aelota'r capeli i brynnu ticats ?

NATHANIEL : O bydd, i bawb.

TOMOS JONES : Wel dyna ddiwadd ar Siencyn Bifan ; dyna'r lecshwn wedi'i setlo.

DAFYDD : *Stroke* anfarwol yw honna ; 'rych-chi wedi maeddu Siencyn yn barod.

NATHANIEL : I faeddu-a, gnaf, fe'i maedda-fa. Ofan arno-fa roi cyfla arall i fi gita-i gôr, ond fe gaiff e weld, caiff, caiff, fe gaiff e weld !

RHYS : Nawr beth am yr *address ?*

NATHANIEL : O ia, fuas-i bron ag anghofio : fe geso-i lythyr y bora 'ma odd'wrth Riannon, yn gofyn i fi bito argraffu'r *address* cyn y delsa hi sha thre, a fe fydd yma fory.

(*Ymddengys* ISAAC *yn anfodlon.*)

TOMOS JONES : Fe fydd Miss Morgan yn help mawr i ni.

NATHANIEL : Mae hi wedi bod yn studio'r pwnc am betar mlynadd yn Aberystwyth. Be'chi'n 'i alw fa nawr, rwpath—rwpath *economy—?*

TOMOS JONES : *Domestic Economy.*

DAFYDD : Nace, nace, peth at olchi a smwddo, a phopi yw *Domestic Economy.* Fe wn-i o'r gora beth ma Mr. Morgan yn feddwl—er——

ISAAC: *Political Economy.*

NATHANIEL: Dyna fe; y peth gora allwch-chi gâl ar gyfar lecshwn.

RHYS: 'Dos dim raid i ni gwpla'r *address* nawr, ond falla y gallwn-ni feddwl am rai o'r prif betha.

ISAAC (*yn anamyneddgar*): Gallwn, yn enw'r bendith. 'Ryn-ni wedi ennill y lecshwn; fe ddylsan ofalu i bito 'i cholli hi eto. Os gen un o chi awgrym?

TOMOS JONES: Dyma'm syniad i: os ych-chi am ennill fôts, pitwch a doti dim byd pendant yn yr *address,* dim byd y gall yr ochor arall gymryd gafal yndo-fa, ond gwaeddwch "Lawr â'r Trethi," a tystiwch ta chi yw "Cyfaill y Gwithwr."

RHYS: Ond ma'n rhaid i chi addo rwpath.

NATHANIEL: Itha-right; nawr, beth gaf-fi addo?

DAFYDD: Wel; ma'r hewl sy'n arwan i Pisgah miwn cyflwr sopor, yn llawn twlla, a phwlla o ddŵr ar hyd-ddi. Dim ond i chi addo gwella honna fe gewch lawar o'n fôts ni.

NATHANIEL: Dotwch yr hewl yn yr *address,* Isaac.

RHYS: A beth amdanon *ni?* Ma'n raid i aelota Nebo gerad milltir a hannar rownd i'r groesffordd cyn cyrradd y capal, a fe allsan fynd 'no miwn pum munad tsa 'na bont rwla'n nghymdocath y *Black Lion.*

NATHANIEL : Dotwch y bont i lawr Isaac. (*Yn troi at* TOMOS JONES.) On-ni'n meddwl fod rwpath pwysig gita-chi, Tomos.

TOMOS JONES : Os, y ma-fa ; fe wyddoch fod gan Siencyn Bifan nifar o fwthynnod lawr wrth y nant.

ISAAC : Os.

TOMOS JONES : Wel, ma'r *Sanitary Inspector* wedi reporto nhw fwy nag unwaith, *unfit for 'uman 'abitation,* dyna eiria'r *report, unfit for 'uman 'abitation,* ond ma'r *Medical Officer of Health yn* gwrthod 'u condemnio nhw.

NATHANIEL : Dyna damad blasus, Tomos : gwrthod condemnio bwthynnod 'i dad, iefa ? Dotwch yna lawr, Isaac.

DAFYDD : Allwch-chi ddim doti yna lawr yn yr *address.* Fe fydd yn well i chi gefnoci *housing scheme.*

TOMOS JONES : A dyna'r trethi lan ar unwaith.

ISAAC : Wath yn y byd am y trethi, dim ond i ni gâl cyfla i faclu Siencyn ynglŷn â'i dai.

NATHANIEL : Ia, a baclu 'i fab hefyd. Wfft shwt *Fedical Officer of Health* weta-i. Arhoswch, nes caf fi fynd ar y *Council !*

ISAAC : Cymrwch chi bwyll gita'r mab, Nathanial ; 'n ol dim glywa-i, fe fydd ych mab-yng-nghyfrath chi ryw ddwarnod.

[Tua'r fan yma, neu yn gynt os mynnir, gellir caniatâu i Isaac i ddechreu shafo Nathaniel. Os cedwir y gorchwyl o fewn terfynau rhesymol, gall fod yn achlysur llawer o ddifyrrwch diniwed.]

NATHANIEL : Dim byth ! 'Rwy wedi sharso Riannon——(*Ymddengys merch ieuanc tua 22 oed wrth ddrws y siop. Cofier mai dynes ieuanc ydyw* RHIANNON, *yn credu'n ffyddiog y gellid gwella ac aildrefnu'r byd yn rhwydd mewn rhyw wythnos neu lai.*)

RHIANNON : A beth 'nâth Riannon druan nawr?

NATHANIEL (*yn syn ac eto yn llawen*) : Riannon!

RHIANNON (*yn dod i mewn*) : 'Nhad ! (*Yn cyfarch y lleill.*)

NATHANIEL : Beth ar wynab y ddaear ddath a ti yma heddy ?

RHIANNON : Allwn-i ddim aros dwarnod arall yn Aberystwyth, a chitha yng nghanol lecshwn. Welsoch-chi *address* Siencyn Bifan ?

ISAAC : Naddo ; 'dyw hi ddim mas eto.

RHIANNON : Nag-yw-hi ! Ma 'na hannar dwsan o grots yn dosbarthu'r *address* ar hyd y pentra. Gwrandewch (*yn dal rhaglen i fyny*) a gwetwch os clywsoch-chi shwt ffwlbri difeddwl eriod : (*yn darllen*) " Pleidleisiwch dros Siencyn Bifan, Cyfaill y Gweithiwr."

TOMOS JONES : Wel, tawn-i byth heb gyffro o'r fan !

NATHANIEL : Welsoch-chi shwt beth eriod, air am air 'run fath a'n *address* i !

RHIANNON : Ych *address chi !* Ble ma honno ?

NATHANIEL : 'Ryn-ni yn 'i chyfansoddi hi nawr. Y fi yw Cyfall y Gwithwr.

RHIANNON : Y chi, iefa ? Dyna fwy na wyddwn i o'r blân. Ond gwrandewch eto. "Pleidleisiwch dros Siencyn Bifan ac i lawr â'r trethi."

NATHANIEL (*yn bybyr*) : Dyna fe ar 'i drôd, dyna Siencyn Bifan, miwn *politics* 'run fath a cherddoriath ! Os caf fi syniad gynta, fe fydd e'n siwr o 'neud defnydd ohono o mlân-i !

RHIANNON : Pob croeso iddo gatw'r syniad yna, 'nhad. Meddyliwch,—i lawr a'r trethi—dyna shiboleth pob terfysgwr penchwiban. Arhoswch nes y gwelwch yr *address* gyfansodda-i i chi. Llwydd a Lles a Werin, dyna'r gadlef, 'nhad,— "*Pro Bono Publico !*"

NATHANIEL (*braidd yn ddi-amgyffred*) : Ia, ia, Riannon ; itha iawn, y merch-i. (*Yn troi at* ISAAC.) Beth wetas-i, Isaac ?

RHYS : Sgusotwch fi, Miss Morgan, oti Siencyn yn sôn rwpath am bont wrth y *Black Lion,* er mwyn aelota Nebo ?

RHIANNON : Nagyw,——pam ?

RHYS : 'Rych-chi o'i flân-a manna, Nathanial.

RHIANNON : Beth ! (*Wrth ei thad.*) 'Nhad, gofalwch na lywch-chi scitsha'r werinos, na

blygwch chi glun o flân y dorf er mwyn dwy ne dair o fôts.

NATHANIEL : Dim byth ym merch-i (*yn troi at* ISAAC) chi'n sôn am feddwl a phondro, beth wetas-i Isaac ?

DAFYDD : Oti Siencyn yn crypwll rwpath am wella'r hewl ar y ffordd i Pisgah ?

RHIANNON : Dim gair.

DAFYDD : Ma-fa ddicon ar ol, Mr. Morgan.

RHIANNON : 'Nhad ; cyn y cewch-chi ennill yr un fôt drwy apelio at gynneddfa gwaela'r etholwyr—

NATHANIEL : Itha right, Riannon.

ISAAC (*yn anniddig*) : Y chi a'ch " itha right " ; enillwch chi byth os na newch-chi.

NATHANIEL : Beth wyddoch chi am lecshwn Isaac ? Fuoch chi miwn coleg eriod yn studio *Political Domestics !*

ISAAC (*yn ffromllyd*) : O'r gora ta ! Dyma fi yn ymddiswyddo. (*Yn cyfeirio bys at* RIANNON.) Dyna'ch agant-chi o hyn i mâs. 'Rwy'n ymddiswyddo !

(*Clywir llais dwfn yn gofyn y tu allan, " Otych-chi wedi hoci y rasar, Isaac ? "*)

ISAAC : Otw, Mr. Bifan, dewch miwn.

(*Ymddengys* SIENCYN BIFAN, *gŵr tal, corffol, hanner cant, llewyrchus a neilltuol o iach yr olwg. Gwelir ei fod yn dalp o hynawsedd a rhadlonrwydd pan y cerdd i mewn yn hamddenol â'i ddwylo yn*

*llogelli ei lodrau. Saif yn syn pan wêl y cwmpeini.*)

SIENCYN : Wel, wel (*yn chwerthin yn iachus*) dyma fi yng nghanol gwersyll y gelyn. Ha, ha, ha. Shwt ych-chi, Nathanial ?

(*Dilynir* SIENCYN *gan ei fab, yr M.O.H., gŵr ieuanc tua 27. Sylwer ei fod ef a* RHIANNON *yn llawen iawn o weld ei gilydd. Ymgomiant yn fywiog, er drwy sisial, heb dynnu sylw y lleill.*)

NATHANIEL (*yn sychlyd*) : 'Rwy-i o'r gora.

SIENCYN : A shwt ma'r gwaith da yn dod 'mlân ?

NATHANIEL : Fyddwch chi fawr o dro cyn gweld a theimlo hynny.

SIENCYN (*yn gellweirus*) : 'Rwy'n synnu atoch chi, Nathanial. 'Rych-chi wedi dod yn f'erbyn i yn y lecshwn 'ma o felltith a drygioni'ch calon. Ond druan o chi, 'dôs fawr gopath y llwyddwch-chi.

(*Yn ystod y sgwrs ganlynol gyda* SIENCYN *mae* NATHANIEL *yn para i neidio i fyny ac i lawr yn ei gadair.*)

NATHANIEL : Dim gopath, iefa ? Ho, ho, fe gewn weld !

SIENCYN : Nagos, dim yfflyn o opath. Fuoch-chi eriod yn ddyn cyhoeddus, fel fi.

NATHANIEL : Naddo, diolch i'r mowradd, a 'dwy-i ddim am fod chwaith !

SIENCYN : Pam ych-chi'n sefyll y lecshwn 'ma, Nathanial ? Jelosi ——ha, ha, ha ——Jelosi ; fe ffaelsoch gita'ch côr ————

NATHANIEL : Ffaelu, do fa !

SIENCYN : Do. Côr pwy enillws ym Mhen-yr-Englyn ?

NATHANIEL : Ych côr chi, ond pwy oedd y beirniad, a ble cysgws-a y noswath cyn y gystadleuath ? Ond sôn am ennill, pwy enillws yng Ngraig-yr-Eos ?

SIENCYN : Y chi—ond pwy enwad ôdd yn cynnal yr eisteddfod ? Ond sôn am ganu, pwy gas y wopor yn Hendrefadog ?

NATHANIEL : O, chi gas y wopor, ond pwy enillws ? 'Rodd ych côr chi mâs o diwn am un bar ar bymthag, y *sopranos* yn *sharp*, y *tenors* yn y niwl—

TOMOS JONES : A'r *bassers* led ca ar ol pawb arall.

SIENCYN : Ho, ho ; dyna'ch barn chi. Ta pun, fe enillas-i ddwywaith o dair, a fe'ch maedda chi eto fel *Rural District Councillor* (*yn estyn rhaglen i* NATHANIEL). Dyma'n *address* i. Fe benderfynas ddod â hi mâs cyn y gnelsa chi. Allwch chi ddim gwêd nawr mod-i wedi cymryd dim byd o'ch program chi, a wy-i am i chitha, os gwelwch chi'n dda, i bito efelychu dim o'n un inna (*gyda gwên ddireidus*) fel y gnithoch-chi gita'r canu.

NATHANIEL : Y fi yn ych efelychu chi, ys clwas-i shwt gownt eriod. Allwch-chi brofi 'na Siencyn ?

SIENCYN : Galla'n rhwydd, a dyma'r tyst (*gan gyfeirio at* ISAAC). Isaac, nawr 'rwy-i am i chi

gyfadda'r gwir, sawl gwaith y buoch chi'n gwrando ar y slei o dan ffenast Carmal ar 'y nghôr-i'n canu?

ISAAC: Y fi! Gofalwch be 'chi'n wêd, Mr. Bifan, ne fe fynna'r gyfrath arnoch-chi, am slander a *damages.*

SIENCYN: Ddwseni o witha. (*Wrth* NATHANIEL.) O ble cesoch-chi'r syniad o ddwbwl *piano* yn "*Worthy is the Lamb*"—oddiwrtho-i, Nathanial, odd'wrtho i.

NATHANIEL: A ffordd cesoch chitha'r syniad i *portamento* yn "*Thanks be to God.*" Ffordd Siencyn? Wrth ddoti dyn i wrando o dan ffenast capal Sion!

SIENCYN: Ha, ha, ha—fe fuws 'na ddyn yn gwrando o dan ffenast ych capal chi, ond nid fi helws-a. Wyddoch-chi beth wetws a ar ol dod 'nol?

NATHANIEL: Na wn-i, a dos dim ots gen-i chwaith.

SIENCYN: Wel, gofynnwch i Tomos Jones ych cefnocydd politicadd mwya chi. Dyna'r dyn fuws dan y ffenast. Beth wetsoch-chi, Tomos, otych-chi'n cofio?

TOMOS JONES: A dyma'r diolch 'rwy'n gâl am gisho neud cymwynas â chi!

SIENCYN: Wyddoch-chi beth wetws-a, Nathanial—nag odd 'na ddim byd yn ych hen ganu chi!

NATHANIEL (*yn troi yn chwim at* TOMOS JONES) : Wetsoch-chi 'na am 'y nghanu i !

TOMOS JONES (*yn ddryslyd*) : Y fi ! Fe weta-i wrthoch-chi beth wetas i. Fe wetas i——ond dyna, beth yr ots beth wetas-i. Torchwch chi'ch llewys, Mr. Morgan, a fe'i maeddwch a'n rhwydd, er fod 'i fab-a'n *Fedical Officer of Health.*

NATHANIEL : Wfft shwt *Fedical Officer of Health,* weta-i (*yn troi at* RIANNON *a'r M.O.H.*). O'n wir (*yn arwain* RHIANNON *ymaith*). Sawl gwaith wy-i wedi gofyn i ti gatw draw odd'wrth y gwalch 'na !

SIENCYN (*yn gellweirus wrth ei fab*) : Sawl gwaith wy-inna wedi gofyn i ti atal y merched yn llonydd. (*Wrth* NATHANIEL.) Nawr, darllenwch yr *address* yna, a gofalwch na chymrwch-chi ddim *points* odd'wrthi.

TOMOS JONES : 'Ryn-ni wedi'i darllan hi'n barod, a 'dos 'na ddim yndi'n werth cymryd.

NATHANIEL : Ma gen-i ddicon o *boints* i'ch maeddu chi'n rhwydd.

SIENCYN : Nagos, fyth yn ych bywyd, Nathanial. Ma 'mhwyllgor i wedi pwyso petha'n ofalus. Ma gen-i fantas o 30 o fôts, o leia, yn y petwar capal, a fe gaf y rhan fwya o fôts gwŷr yr eclws.

(NATHANIEL *a'i bwyllgor yn chwerthin.*)

NATHANIEL : Ha, ha ; fe gewn weld, fe gewn weld !

SIENCYN : Am wn-i na chaf-fi nhw i gyd, wâth ych-chi wedi bod mor afresymol ynglŷn â'r Datgysylltiad a'r Dadwaddoliad.

(NATHANIEL *a'i bwyllgor yn crechwenu a chwerthin. Clywir sŵn cloch criwr y tu allan. Pawb yn distewi ac yn talu sylw.*)

CRIWR (*yn uchel*) : Gwrandewch, a dalier sylw. Mewn perthynas â'r *Bazaar* gynhelir yn Eglwys Llanybryn yr wythnos nesaf, dymunir hysbysu y refflir buwch, rial Castell Martin, yn gotro ucian cwart y dydd, tocynna swllt yr un. Cyflwynir yr anifail gan Nathaniel Morgan, *Esq.*, un o ymgeiswyr etholiad Llanybryn. Duw Gadwo'r Brenin !

SIENCYN (*yn benwan wyllt*) : Beth yw hyn, Nathanial ! 'R ych chi wedi bradychu egwyddorion mawr Rhyddid a Chydraddoldeb crefyddol, 'r ych-chi wedi gwerthu'ch henad am saig afiach o fôts. Ond fe'ch maedda chi, gnaf ! Fe fydd ych hanas chi'n destun drewllyd ar bob aelwyd yn y plwyf, a fe'ch cospir chi'n dragwyddol am fargan yr hen fuwch ddu !

LLEN.

## YR AIL ACT.

ADEG: *Yr hwyr, ymhen dau ddiwrnod.*

LLE: *Tŷ* NATHANIEL MORGAN, *y gegin.*

[*Dodrefnir yr ystafell yn sylweddol â derw. Lle tân llydan, hen ffasiwn, ar y chwith, canwyllerni prês yn disgleirio ar y fantell, ac uwch ben, pâr o gyrn anferth eidion Castell Martin ynghrog ar y mur. Drws yn arwain i'r "gegin fach" ar y chwith; ffenestr yn y cefn a drws ar y dde iddi, yn arwain i'r buarth. Drŵs arall yn arwain ar y dde i gorff y tŷ.*

*Gwelir* MARGED ANN, *dynes foch-goch, raenus, gwmpasog, tua hanner cant, yn sychu llwch ag adain gŵydd gylch y pentanau. Agorir drws y cefn, a gwthia* ISAAC LEWIS *ei ben i mewn. Syll yn wyliadwrus ar gefn llydan* MARGED ANN *cyn mentro ymhellach.*]

ISAAC (*yn ofnadwyus serchog*): Shwt ych-chi 'ma heno, Marged Ann?

MARGED ANN (*dros ei hysgwydd, ac yn sychlyd*): O, chi sy 'na, iefa?

(*Egyr* ISAAC *y drws dipyn eto.*)

ISAAC (*ychydig yn fwy calonnog*): Ma-hi'n hwthu'n galad iawn heno, ond yw hi?

MARGED ANN (*yn troi yn chwyrn ac yn ei fesur o'i gorun i'w draed*) : Fe 'llwn feddwl 'i bod-hi, Isaac !

ISAAC (*dipyn yn gymysglyd*) : A—a—ma-hi'n frwnt iawn dan drad, hefyd !

MARGED ANN (*yn angherddol*) : Wel pam na sychwch chi'ch trad cyn dod miwn i 'nghecin-i !

(*Cymer* ISAAC *gam yn ol a sych ei draed ar y mat y tu allan.*)

ISAAC : Ma'n ddrwg gen-i, Margad Ann.

(*Try* MARGED ANN *ei chefn arno ac ymgymer eto â sychu llwch. Cymer* ISAAC *gam dros y trothwy a saif yn bryderus.*)

ISAAC (*yn rhith edliwio*) : Fysa'n fawr i chi ofyn i ddyn i ddod miwn.

MARGED ANN : 'Rych-chi'n *shy* iawn heno, Isaac.

ISAAC (*gam yn nês*) : 'Rwy wastod yn *shy* os bydda-i'n acos i chi.

MARGED ANN : Otych ; yr hen glwddgi !

ISAAC (*gam arall*) : A 'rwy'n mynd yn fwy *shy* bob dydd.

MARGED ANN (*yn brasgamu tuag ato*) : Drychwch 'ma, Isaac, sawl gwaith raid i fi ofyn i chi i bito dod i'r tŷ 'ma ar f'ol i !

ISAAC : Dwy-i ddim yn dod ar ych hol chi.

MARGED ANN (*yn ffromllyd*) : O'n wir, dyna atab blasus i wr-ne-was i roi i ferch-ne-wraig !

ISAAC : Ond 'rwy'n folon dod.

MARGED ANN : Beth ych-chi'n moyn 'ma heno?

ISAAC : Dim ond galw i weld shwt ma'r fuwch.

MARGED ANN : O'r fuwch, y fuwch, y fuwch ! 'Dôs 'ma sôn am ddim o fora tan nos ond am y fuwch,—a'i gwylad hi ddydd a nos fel tsa-hi'n fam i fi. A dim ond o'ch hachos chi. Pwy fusnas ôdd gita-chi i awgrymu dim o'r fath beth wrth y Ficar ?

ISAAC : On-i am helpu Nathanial i ennill y lecshwn.

MARGED ANN : A phwy fusnas ôdd gita-chi i roi ym mhen Nathanial i sefyll lecshwn ? Ych gwaith chi ôdd-a bob tamad. Beth ŵyr Nathanial am lecshwn, mwy na wyddoch chitha am garu ? Pam Isaac ? Dim ond er mwyn i chi gâl esgus i ddod i'r tŷ 'ma, nawr ac yn y man.

ISAAC : 'Dôs 'na ddim na nelswn-i er mwyn bod yn acos atoch-chi. Peth dychrynllyd yw bod miwn cariad, Margad Ann.

MARGED ANN : Wel, pwy ych-chi am weld heno, y fi ne'r fuwch ?

ISAAC : Pwy all ych atab chi ? Os gweta-i'r fuwch, fe fyddwch yn jelos ; os gweta-i ta chi— O, Margad Ann, 'rych-chi'n greulon o galad, a finna mor awyddus i'ch gneud chi'n hapus.

MARGED ANN : Otych-chi, 'rhen grebyn ! 'Rych-chi'n meddwl tswn-i ddim ond ych prioti chi na fysa dim isha crotyn arnoch-chi wetyn i woblo.

ISAAC: O ble gallwch-chi wêd 'na?

MARGED ANN: Am y mod i'n ych napod chi. Meddylwch amdano-i acha nos Satwn. (*Saif gerllaw cadair â'r adain ŵydd yn ei llaw fel brws seboni.*) "*Next please.*" Be'chi'n feddwl wy-i, Isaac?

ISAAC (*yn nesu at yr aelwyd*): Fe wn o'r gora 'r hyn licswn-i i chi fod—gwraig i fi!

MARGED ANN: Ho!

ISAAC (*yn eistedd*): Wel, shwt ma'r fuwch heno?

MARGED ANN: Ma-hi'n fyw o brin. Welas-i eriod shwt gratur am loitran wrth borth anga!

ISAAC: Gobitho i'r mowradd na fydd hi ddim farw!

MARGED ANN: Gwyn fyd na nelsa-hi un peth ne'r llall. A beth tsa-hi yn marw; nid y hi yw'r unig fuwch ar y fferm 'ma.

ISAAC: Hi yw'r unig Gastall Martin.

MARGED ANN: Ia falla; ond ma 'na *Short Horns, Herefords, Jerseys*—wnaiff rheiny 'mo'r tro?

ISAAC: Na wnân; dyna'r *breed* gyhoeddws y criar. Ma'n rhaid câl Castall Martin yn gotro ucian cwart y dydd.

MARGED ANN: Wel, fe 'llwch fynd lawr i'r pentra nawr a chyhoeddi na fydd 'na ddim Castall Martin.

ISAAC: 'Rarswd mawr, pitwch yngan gair yn y pentra. Wyr neb eto 'i bod hi'n anhwylus, heb sôn am feddwl marw.

(*Ymddengys* Nathaniel *o'r tu allan, yn dwyn amryw boteli a phecynnau yn cynnwys meddyginiaethau yn ei freichiau, a darn mawr o wlanen goch dros ei ysgwydd. Gesyd y meddyginiaethau ar sil y ffenestr a'r wlanen goch i sychu o flaen y tân. Tra fo'r ymddiddan a ganlyn, yn para ymgymer* Isaac *â malu hadau mewn mortar haearn, gan gymysgu gwahanol ddefnyddiau â hwynt, a deil wrth y gwaith hyd ymddangosiad y* Ficer ; *yn y diwedd, gesyd yr oll i ferwi mewn cawg bychan ar y tân.*)

NATHANIEL (*yn fyr a galarus*) : Isaac.

ISAAC : Nathanial (*yn ddwys*) a shwt ma-hi heno ?

NATHANIEL (*yn anobeithiol*) : Ddim gwell. 'Rwy'n 'i hofni-ddi Isaac. Fe'i galwas-hi wrth 'i henw cyn dod miwn nawr, " Betsan," myntwn-i, ond nâth-hi ddim ond dangos gwyn 'i llyced !

ISAAC : 'Dyw-hi'n byta dim ?

NATHANIEL : Dim mymryn odd'ar bora echdo.

ISAAC : Gwell i ni bartoi ar gyfar y gwaetha, dyna fel ôdd-hi i fod, 'llwn feddwl. Beth 'newch-chi os bydd-hi farw ?

NATHANIEL : Beth alla-i neud ? 'Dos gen-i ddim Castall Martin arall. Fe fydd yn rhaid iddyn-nhw gymryd *Hereford* ne *Short Horn.* (*Yn alarus*) Nid yn unig 'rwy'n colli buwch dda, ond fe fydd yn rhaid i fi roi buwch arall yn 'i lle hi——a dim ond o'ch hachos chi, Isaac.

MARGED ANN: Dyna beth wy-inna'n wêd hefyd. Ar Isaac ma'r bai bob tamad.

(*Ymddengys* RHIANNON.)

ISAAC: Arno-i ma'r bai, iefa? Odd Nathanial yn folon rhoi buwch?

RHIANNON: Odd; a barn gyfiawn fydd i'r fuwch farw nawr.

NATHANIEL (*yn ddolefus*): Wel, wel, ym merch i'm hunan yn f'erbyn-i!

RHIANNON: Beth arall allwch-chi ddisgwl? Ma'n well gita-chi i'r cratur farw na chal ffariar yma idd 'i gwella hi— a chitha'n sefyll fel apostol syniata diweddara y byd politicaidd.

NATHANIEL: Nid yn syniata-i yn nhw. Ti pia nhw! Chlwas-i eriod sôn am danyn-nhw cyn bora ddo. A pheth arall, fe ro i her i unryw ffariar i neud mwy dros y fuwch 'na nag wy-i wedi neud.

MARGED ANN: Her, gallwch yn rhwydd. (*Yn cyfeirio bys tuag at y ffenestr.*) Welwch-chi nhw, *Castor Oil, Tar Ointment, Cream of Tartar, Castile Soap, Ipecacuanha,* a chant a mil o betha!

RHIANNON: 'Dyw byw ne farw'r fuwch ynddim i ni nawr. Os bydd hi farw, fe rown un arall yn 'i lle hi, a dyna ddiwedd arni. Ma gita-ni bwnc llawar mwy dyrys i'w ddatrys nawr nag afiechyd y fuwch.

NATHANIEL (*yn codi ei ddwylo*): Helbul ar ol helbul! Beth sy'n bod nawr?

RHIANNON : Ma pwyllgor Siencyn Bifan wedi partoi gwrthdystiad cryf yn ych herbyn chi yn y petwar capal. Fe drefnwd trafod y matar heno ym mhob seiat ne gyfeillach. Yn gynta, am ych bod chi yn cefnoci *raffle*, o bob ffordd lygretig o gasglu arian. Yn ail, am ych bod chi yn gwaddoli yr Eclws â buwch, y chi, y dadwaddolwr penna o bawb. Ma'r brotyr yn aros ar ol yn Sion nawr i drafod y matar.

ISAAC (*yn codi*) : Wel, fe fynna-i weld beth yw 'u penderfyniad nhw.

(ISAAC *yn mynd allan ac ar yr un pryd*, TOMOS JONES, PETERS, *a* PHRITCHARD *yn dod mewn.*)

TOMOS JONES (*wrth* NATHANIEL) : A shwt ma-hi heno, Mr. Morgan ?

NATHANIEL : Itha gwanllyd—ia—gwanllyd iawn.

RHIANNON : Er mwyn pob trugaradd dewch at waith y lecshwn, a gadewch i'r hen fuwch farw miwn hedd. Beth ma-nhw'n feddwl am *address* 'y nhad yn y pentra, glwsoch chi ?

TOMOS JONES : Wel, dyna'n necas ni yma heno. 'Ryn ni'n tri yn aelota o'r pwyllgor, a 'ryn-ni o'r farn, os dylsa rywun fod yn apal i ddiall a esbonio ticyn ar *address* Mr. Morgan, y dylsan-ni, ond 'dos 'na ddim copa ohonon-ni all neud caib na rhaw o heni.

DAFYDD (*yn ddifrifol*): Alla-i ddim ta pun. 'Dwy-i ddim yn gweld pwy isha ôdd 'i phrinto hi yn Sisnag. Ma 'na eira yndi na welwd mo'u tepyg nhw yn y pentra 'ma o'r blân.—Wrth gwrs, fuas-i eriod yn y Coleg, ond o ddyn cyffretin ma'n Sisnag i cystal a Sisnag rhyw un arall.

RHYS: Ma'n Sisnag inna'n weddol iawn, ond pwy ddewin all ddyfalu ystyr brawddag fel hon? (*Yn darllen.*) "*Vote for Nathaniel Morgan, and a larger synthesis, socially, politically, and morally.*"

TOMOS JONES: A beth am hon eto? (*Yn darllen.*) "*Citizens of Llanybryn, if you wish to achieve the abolition of Interest, Capital, and Rent, if you desire to consummate the communal ownership of all the means of production and distribution, vote*— (*yn cyfeirio bys at* NATHANIEL, *yr hwn sydd yn prysur baratoi cawl i'r fuwch*)—*vote for Nathaniel Morgan.*"

DAFYDD: A beth am yr *Housing Scheme?* Os ofan arnoch-chi i sôn am fwthynnod Siencyn Bifan?

NATHANIEL: Ddotast-ti ddim o'r *Housing Scheme* yn yr *address* ar ol i fi dy sharso di?

RHIANNON: Naddo.

TOMOS JONES: 'Dych-chi ddim wedi darllen ych *address* ych hunan, ta?

NATHANIEL (*yn malurio yn ffyrnig*) : O ble ma amsar gen-i ddarllan *address* a finna ar yn eitha bob munad i gatw ticyn o anal yn y cratur 'na ?

TOMOS JONES : Wel, ffordd ma hi i fod ; otych chi'n moyn i'r pentra i ddiall ych *address* chi ?

NATHANIEL : Pwy waniath os diallan-nhw ne bito ? Os posib os na 'llwn-ni ennill lecshwn heb 'ny !

DAFYDD : Ond ma pawb yn gofyn cwestiyna yn holi ynglŷn â'r peth hyn a'r peth arall.

RHYS (*yn erfyniol*) : Esboniwch ystyr rhai o'r geira mawr 'na. Ma mwy na hannar y pentra â'u trwyna yn y dicshnari.

RHIANNON : Rhagorol, bendigetig ! Dyna brawf yn bod ni wedi dihuno ysbryd ymchwiliad.

DAFYDD (*yn sychlyd*) : Nid dyna'r unig ysbryd 'ryn-ni wedi ddihuno. Tsa-chi 'm ond clwad yn gwinitog ni heno yn y Seiat, chi'n gwpod, hwnna sy'n perthyn i wraig Siencyn, 'rôdd 'na sylwata hallt ar *raffles.*

TOMOS JONES : A fe baswd penderfyniad cryf yn yn cyfeillach ninna yn erbyn *raffles* a phob math, o loteri.

MARGED ANN : Baswd 'na benderfyniad yn erbyn prynu tocynna ?

TOMOS JONES : Fe gynnycws Ianto Tŷ-cornal neud 'ny, ond ôdd Tomos Ca-mawr o'r farn y bysa

penderfyniad o'r fath yn dangos ysbryd rhy anghristionocol yn erbyn sefytliad crefyddol arall.

NATHANIEL : Beth amdanyn-nhw yn Nebo, Pritchard ? Och-chi yn y gyfeillach heno ?

RHYS : On ; a fe fu 'na sharad cryf iawn yn erbyn y *raffle*.

MARGED ANN : Do, falla'n wir ; ond beth am brynu tocynna ?

RHYS : 'Rodd 'na waniath barn, ond dyma ôdd tuadd y mwyafrif : er fod y *raffle* yn halogetig iawn, a beth bynnag all fod yn teimlata ni yn erbyn yr Eclws, yr un efengyl sydd i bawb, a felny, gwario swllt at achos da fyddwn-ni, wedi'r cyfan.

(*Ymddengys* ISAAC *yn dwyn newydd o Seion.*)

NATHANIEL : Welsoch-chi rhai ohonyn-nhw ?

ISAAC : Do ; on-nhw'n dod mâs o'r festri a fe geso-i air gita Shôn Morgan.

TOMOS JONES : Beth benderfynson-nhw ?

ISAAC : Ar ol trafotath hir a manwl fe gytunson ar benderfyniad (*yn tynnu allan bapur*).

NATHANIEL : Wel, darllenwch-a.

ISAAC (*yn darllen*) : "Tra yr ydym ni, fel eglwys Gristionogol, a chynulleidfa Biwritanaidd, yn teimlo na allwn, yn gyson â thraddodiad a dyletswydd, gefnogi y *Raffle* hon, er hynny . . .

MARGED ANN : Clywch, clywch !

ISAAC : . . . er hynny, hawlia'r egwyddor fawr honno, sef, rhyddid cydwybod . . . .

PAWB : Clywch, clywch !

ISAAC : . . . ganiatâd i bob aelod unigol i benderfynu drosto ei hun p'un ai doeth fydd prynu tocyn, ai peidio."

MARGED ANN (*gan chwerthin*) : Buwch am swllt ! fe ddaw honna â thorath o arian i miwn.

ISAAC : Daw, a thorath o fôts hefyd.

(*Clywir sŵn curo ar ddrws y cefn. A* MARGED ANN *i'w agor a gwelir y* FICER *ar y trothwy.*)

Y FICER : Ydi Mr. Morgan mewn ?

MARGED ANN : Oti, Mr. Jones, fyddwch chi cystlad a dod i miwn.

Y FICER : Diolch i chi.

(*Yn dyfod i mewn, gan edrych yn ddifrifol iawn, â newyddiadur yn ei law.*)

NATHANIEL : Shwt ych-chi heno, Mr. Jones. Ishteddwch lawr.

Y FICER (*yn ddwys*) : 'Dwy-i ddim wedi dod yma i eistedd, Mr. Morgan. Ma gen-i neges bwysig iawn (*yn dal y papur i fyny*). Welsoch chi'r *Gazette* am yr wythnos hon ?

ISAAC : Fydd y *Gazette* ddim mâs tan fory.

Y FICER : Na fydd, ond fe osodwyd yr *advance copy* yma yn fy llaw i, neu yn hytrach, fe'i gwthiwyd e o dan ddrws y Ficerdy gan rhywun, lai na hanner awr yn ol. Mae yma lythyr maith wedi brintio mewn llythyren fras yn y golofn nesaf at hysbyseb *Bazaar* yr Eglwys, a fe garwn ei ddarllen i chi

(*Pawb yn gwrando'n astud.* Y FICER *yn darllen.*)
"Mr. Golygydd,
Syr,
Fel y gŵyr pawb bellach, gwelodd Mr. Nathaniel Morgan yn dda i gyfiwyno buwch i *Bazaar* yr Eglwys er mwyn ei gosod ar *raffle*, Afraid hollol fyddai ceisio esbonio ei haelfrydedd disymwth at ei wrthwynebwyr anghymodlawn gynt. Cofus gan bawb y derbyniad gawsai beili ar ol beili pan yn ceisio codi degwm ar ei dir . . .

NATHANIEL (*yn gwenu*) : Odd yn dda iawn gitanhw fynd 'nol.

Y FICER : " . . . Ymladdwyd, ar ei feysydd a'i ddolydd, rhai o'r brwydrau ffyrnicaf ar ran rhyddid a chydraddoldeb crefyddol, ac ar y cyfryw adegau, taenellwyd gwaed meibion goreu Llanybryn wrth ei amddiffyn.

NATHANIEL (*yn chwerthin*) : Do'n wir ! Bôn braich, pastwn, a phicwarch ôdd-hi prynny !

Y FICER : " . . . Afraid hefyd fyddai pwysleisio dylanwad lygrol *raffle* ar gymdeithas.

TOMOS JONES : Nonsense !

Y FICER : " . . . yn enwedig, pan yr ystyriwn barch a dylanwad Mr. Morgan, yn y gorffennol."

NATHANIEL : Hm !

Y FICER (*yn siarad ei hun nawr*) : Mor belled, 'dyw cynnwys y llythyr o ddim diddordeb i mi, ond

fe garwn-i dynnu eich sylw manylaf at yr hyn sydd ar ol (*yn darllen yn bwysleisiol a phwyllog*) "Ym mhlaid moesoldeb cyhoeddus, heblaw sôn am chwarae teg, buddiol fyddai gofyn gan Mr. Morgan i ateb y cwestiynau canlynol :

1. Beth yw oed y fuwch gyflwynedig ?

2. Beth oedd stâd ei hiechyd pan gyflwynwyd hi i'r Ficer ?

3. Beth yw ei chyflwr presennol ?

4. A oes unrhyw obaith am ei hadferiad ? "

DAFYDD (*yn bybyr*) : Fe wn-i pwy sgrifennws y llythyr 'na—Samson Edwards y gôf.

RHYS : Nace, nid Samson. Ned Jenkins y crydd.

TOMOS JONES : Nace, nace ; allsa'r hen Ned byth sgrifennu llythyr fel hwnna. Sylsoch-chi, " moesoldeb cyhoeddus, rhyddid a chydraddoldeb crefyddol "—ma'r awdwr gen-i ! Mab Siencyn Bifan, y *Medical Officer of Health !*

Y FICER : 'Dyw awdureth y llythyr o ddim pwys yn bresennol. Fe leicwn-i wybod, Mr. Morgan, sut 'rych-chi'n bwriadu ateb y cwestiynau yma.

NATHANIEL : Fe licswn-inna wpod hefyd. Ond ma 'na rwpath arall wy-i am wpod cyn hynny. Ma 'ma fratwr yn y gwersyll, a ma'n rhaid fod y bratwr hynny yn y gecin 'ma nawr, wâth wydda neb arall fod y fuwch yn dost.

Y FICER : 'Dôs wahanieth yn y byd am fradwr nawr, Mr. Morgan. Beth am y cwestiyne ?

NATHANIEL : Fe ateba-i'r cwestiyna, Mr. Jones, os esgusotwch-chi fi am funad. (*Yn troi at* MARGED ANN). Margad Ann, fuoch chi yn clepran â rhywun ynghylch y fuwch ?

MARGED ANN (*yn gadarn*) : Naddo.

TOMOS JONES : Otych-chi'n siwr nawr ?

NATHANIEL : Byddwch chi'n ddistaw, Tomos Jones. Os yw Margad Ann yn gwêd "Naddo," ma hynny'n ddicon i fi. Isaac ?

ISAAC : Naddo.

NATHANIEL (*yn wynebu* RHYS, DAFYDD, *a* TOMOS JONES) : Un o chi'ch tri ?

DAFYDD : Sonias-i ddim gair.

RHYS : Na finna.

TOMOS JONES : Na finna chwaith.

NATHANIEL : Otych chi'n siwr, Tomos Jones ?

TOMOS JONES : Otw, yn itha siwr.

ISAAC : Wel, 'dôs 'na ddim ond un arall allsa wêd dim.

NATHANIEL : Otych-chi'n meddwl y byswn-i yn ddicon ffôl i——

ISAAC : Nid y chi on-i'n feddwl.

NATHANIEL : Wel, wydda'r Ficar ddim. (*Y mae* ISAAC *yn syllu ar* RHIANNON.) Riannon, wetast-ti ddim, dofa ?

RHIANNON : Naddo, 'nhad.

TOMOS JONES: Fe allsa mab Siencyn Bifan ddod o hyd i hyna heb i neb wêd dim.

NATHANIEL: Arhoswch nes y caf fi afal arno-fa; 'dôs 'na ddim moddion yn y byd a'i gwelliff-a!

Y FICER: 'Dwy-i ddim yn credu mai'r Doctor sgrifennodd y llythyr.

NATHANIEL: Ffordd gwyddoch-chi hynny, Mr. Jones?

Y FICER: 'Rwy'n adwaen y bachgen yn rhy dda. Feddylie-fe ddim am wneud dim o'r fath beth. Mwy na hynny, y mae y cyfeillgarwch mwya rhyngddo a'ch merch chi, Mr. Morgan. Fe'u gweles nhw yn cydgerdded y p'nawn 'ma ar lan yr afon. Ydych-chi'n meddwl——?

NATHANIEL (*yn syn*): Riannon, oti yna'n wir?

RHIANNON: Oti, 'nhad; ond nid fe sgrifennws y llythyr.

NATHANIEL: Ys truan o ddyn wy-i, a'm mhlentyn i'm hunan yn f'erbyn-i. 'Rwy'n tynnu'n ol o'r lecshwn. Gadewch i Siencyn Bifan ennill.

RHIANNON: 'Nhad annwl, netho-i ddim drwg i chi. Nid Tudor sgrifennws y llythyr.

NATHANIEL: Mhlentyn bach-i, paid a sharad mor ffôl. 'Rwyt-ti'n rhy depyg i dy dad; ma dy galon di'n gryfach na dy ben di. Otw, otw, 'rwy'n tynnu'n ol.

MARGED ANN : Y dyn dyshefo ni ! pitwch chitha a sharad mor ffôl. Beth yr ots am yr hen lythyr. Mlân â'r lecshwn, mlân â chi.

(*Y pwyllgor yn ategu, " Itha right, ia, ia, mlân â chi. Pitwch â thynnu'n ol."*)

NATHANIEL (*yn rymus*) : Na, 'dwy-i ddim yn tynnu'n ol. Fe ymladda, gnaf, fe ymladda hyd farw. (*Yn troi at y* FICER.) Mr. Jones, 'rwy'n barod i atab ych cwestiyna chi.

(*A* RHIANNON *allan ar y dde, yn drist ei gwedd.*)

Y FICER : O'r gore, fe'u cymrwn nhw fel ma nhw lawr yma. Beth yw oed y fuwch ?

NATHANIEL (*yn bwysleisiol*) : Ma'r fuwch yn saith mlwydd oed.

Y FICER : Beth oedd stâd ei hiechyd hi pan gyflwynwyd hi i fi ?

NATHANIEL : 'Rôdd-hi'n dost iawn.

Y FICER : A'i chyflwr presennol hi ?

NATHANIEL : Gwâth byth.

Y FICER : Oes yna rhyw obeth yr adferir hi ?

NATHANIEL (*yn ysgwyd ei ben*) : Dim gopath o gwbwl.

(*Llygada y* FICER NATHANIEL *yn amheus.*)

Y FICER : Wn-i yn y byd beth i ddweyd, Mr. Morgan. 'Rwy wedi mynd i dipyn o draul eisoes ynglŷn â'r *raffle*,—mil o docynne a thair mil o raglenni. Y mae'r hysbysebau yn y papurau, a'r yn-ni wedi gwerthu dros bedwar cant o docynne yn

barod heb fynd tu allan i'r pentre. O'r braidd y medra-i gredu fod yr hyn ddwedwch-chi'n wir. 'Dyn-ni'n dau ddim wedi cyd-weld lygad yn llygad bob amser, ond feddylies-i erioed hyd yn hyn, ych bod chi'n llai na dyn.

NATHANIEL (*fel pe yn ymson*) : Do, Mr. Jones, fe fu 'na amsar brwd rhyngto chi a fi, acha prytia, ond welsoch-chi eriod o hono-i yn llai na dyn.

Y FICER : Naddo. Pam ych-chi'n ymddwyn fel hyn yn awr ?

NATHANIEL (*eto'n ymson*) : Itha right, pam (*yn troi at* ISAAC). Na, nid ar Isaac ôdd y bai. (*A'i law ar ei fron*) arno-i ôdd y bai. Beth sy'n bod arno-i ? (*Yn troi yn sydyn at y* FICER). Pitwch a gofalu dim, Mr. Jones, fydda-i ddim yn llai na dyn i chi eto. Fe gewch chi fuwch, a Chastall Martin fydd hi, yn gotro ucian cwart y dydd, hyd yn ôd os bydd raid i fi gerad holl sirodd Cymru i gal gafal arni. (*Ymddengys y* FICER *yn amheus.*) 'Rych--chi'n ama 'ngair-i. O'r gora, fe fynnwn bapur a phen ag inc.

Y FICER : Na, na, fe gymra-i'ch gair chi.

NATHANIEL (*yn benderfynol*) : Na, fe'i mynnwn-a miwn du a gwyn. (*Yn arwyddo y drws ar y dde.*) Fyddwch-chi cystlad a dod miwn 'ma am funad, os gwelwch chi'n dda. (NATHANIEL *yn mynd, a'r* FICER *yn dilyn.*) Gwell i chitha ddod hefyd (*gan*

*arwyddo ei bwyllgor*) fel witneson. O gnewn, Siencyn Bifan, fe ymladdwn nawr.

(*Ant allan bob un ond* MARGED ANN. *Y mae hi'n dal* DAFYDD, *pan ar fynd allan.*)

MARGED ANN : Hannar munad, Dafydd Peters —ddath y papura 'na ?

DAFYDD (*yn aros*) : O do, y bora 'ma. Dyma nhw. (*Yn tynnu papur glas o'i logell.*)

MARGED ANN : A fe gaf fi'r arian yr wthnos yma ?

DAFYDD : Bora fory, yn ddiffael ?

MARGED ANN : A ma popath o'r gora ?

DAFYDD : Oti, oti ; gwrandewch (*yn agor y papur ac yn darllen yn uchel*). "*Endowment, Miss Marged Ann Jones, Spinster, aged fifty-five.*"

MARGED ANN (*yn afrywiog*) : 'Dôs dim isha i chi waeddi dros y lle i gyd.

DAFYDD (*yn sisial yn gellweirus*) : "*Aged fifty-five.*"

MARGED ANN (*yn gwta*) : Ia, ia.

DAFYDD : "*£100 plus profits and bonus £126.*" Dyna nythad fach ddecha o arian, Marged Ann. 'Rych-chi'n'u haeddu nhw bob dima.

MARGED ANN : 'Llwn-i feddwl y mod-i, ar ol gwasgu a chrafu i dalu'r *premiums* ar hyd y blynydda. (*Yn swil.*) Ma 'na rwpath wy-i am ofyn i chi, Dafydd, ond—ond—'dwy-i ddim yn lico gofyn.

DAFYDD : O—beth yw-a ?

MARGED ANN: Wetwch-chi ddim wrth neb?

DAFYDD: Na, na; ddim wrth un enad byw.

MARGED ANN: 'Rych-chi'n addo nawr?

DAFYDD: Otw, otw; beth sy'n bod?

MARGED ANN (*yn gyfyng arni*): Oti—oti Isaac Lewis wedi bod yn sharad—oti-a wedi sôn—wedi gofyn rwpath i chi am yr arian yma?

DAFYDD: Isaac Lewis?

MARGED ANN: Ia. Oti-a wedi crypwll rwpath—rwpryd?

DAFYDD (*mewn tipyn o anhawster*): Isaac Lewis—arhoswch i fi gâl meddwl nawr; wel oti, am wn-i'n wir. Do, do, fe soniws Isaac rwpath am yr arian.

MARGED ANN: Ia, do-fa?

DAFYDD: O do.

MARGED ANN: A fe wetsoch-chitha?

DAFYDD: Y fi! Dim gair.

MARGED ANN: Ond fe wydda Isaac am yr arian?

DAFYDD: Gwydda, gwydda.

MARGED ANN (*yn erwin*): Gwydda fa'n wir! Dyna i gyd on-i am wpod. Diolch yn fawr i chi, Dafydd. A fe fydd yr arian yma fory?

DAFYDD: O bydd.

(PETERS *yn mynd allan ar y dde.*)

MARGED ANN (*yn llym*): Thenkiw, Dafydd, thenkiw.

(RHIANNON *yn ymddangos ar y chwith.*)
'Rych-chi'n ofitus iawn ym merch-i. Cymrwch gysur, a diolchwch nag yw hi'n wâth arnoch-chi.

RHIANNON : Marged Ann, 'dych-chi ddim yn cretu ta Tudor sgrifennws y llythyr 'na. Gwetwch nag ych-chi ddim yn cretu.

MARGED ANN : Weta-i ddim shwt beth, Riannon. Dyma'ch gwers gynta chi, a fe ddylsach-chitha gymryd y wers fel menyw.

RHIANNON (*yn edrych i fyw llygaid* MARGED ANN) : Otych-chi'n cretu mai Tudor ôdd awdwr y llythyr ?

MARGED ANN : Pitwch a gofyn i fi beth wy'n gretu amdanyn nhw.

RHIANNON : Nhw ? Beth ych-chi'n feddwl ?

MARGED ANN : Dyma beth wy'n feddwl : nag os dim diwadd ar ddrycioni dynion yn 'u trafotath â menywod.

RHIANNON : Ond ma Tudor mor onast, mor gywir—

MARGED ANN : Oti, oti ; ma nhw i gyd felny.

RHIANNON : Marged Ann, wyddoch-chi beth ych-chi ? Hen *cynic*.

MARGED ANN : Wn-i yn y byd beth yw *cynic* ym merch-i, ond os yw'r gair yn golycu fod profiad wherw yn y nysgu-i i foddicyn yn gallach, 'rych-chi'n acos iawn i'ch lle.

RHIANNON : 'Rych-chi'n wilia'n ryfadd iawn heno.

MARGED ANN : Gadewch nhw'n llonydd, Riannon fach, gadewch nhw'n llonydd. Catwch nhw draw.

RHIANNON : O'n wir, fe ellwch chi gymryd y cyngor yna'ch hunan. Ma Isaac Lewis yn dod i'r tŷ 'ma yn weddol o amal, ond yw-a ?

MARGED ANN : Oti ma fa ; dair ne betar gwaith bob wthnos.

RHIANNON : A fe ŵyr pawb pam ma'n dod.

MARGED ANN : Chi'n meddwl 'ny ?

RHIANNON : Gwyddan. Dod ar ych hol chi ma-fa.

MARGED ANN : Nagyw ; 'dyw-a ddim yn dod ar f'ol i.

RHIANNON : Pam ma-fa'n dod 'ma, ta ?

MARGED ANN : Dod ar ol f'arian-i ma-fa.

RHIANNON : Os ych-chi'n cretu felna, shwt yn y byd gallwch chi ddiodda fa am funad.

(MARGED ANN *yn fyfyrgar iawn, a chysgod o wên ar ei hwyneb.*)

MARGED ANN : Dyna gwestiwn anodd iawn i'w atab. Wedi'r cyfan, gwan iawn yn-ni'r menywod ar y gora. Falla fod 'na rhyw gysur i fenyw feddwl fod 'na ddyn yn dod i'r tŷ, nawr ac yn y man, o'i herwydd hi. A pheth arall, fe all Isaac wêd petha pert iawn acha prytia.

RHIANNON : Ffordd yn y byd gallwch-chi wrando arno fa ?

MARGED ANN (*eto'n fyfyrgar*) : Wrth gaead ym llyced a meddwl ta rywun arall sy'n sharad.

RHIANNON : O rywun arall iefa ? A phwy all hwnnw fod ?

MARGED ANN (*ochenaid fechan*) : Wn i ar y ddaear ! Welas-i eriod mohono fa—yn y cnawd. Mwy na thepyg i Ragluniath hela rhyw ddyn ne'i gilydd, ond fe gollws y ffordd.

RHIANNON : 'Rwy'n synnu atoch chi, Marged Ann. Pwy isha i chi feddwl am sponar sy nawr ? Fyddwch-chi byth yn fwy cysurus nag ych-chi 'ma, a dros gan punt ar ych henw chi. Mwy na hynny, 'dych-chi ddim yn ifanc nawr. 'Rych-chi dros hannar cant. Na, 'dwy-i ddim yn diall.

MARGED ANN : 'Dych-chi ddim ? (*Ochenaid arall.*) Arhoswch nes bo *chi* dros hannar cant, falla diallwch chi wetyn.

(*Cymer* RHIANNON *bapur ar gyfer ysgrifennu.*)

RHIANNON : Ond 'dych-chi ddim yn bwriatu gwrando racor ar Isaac ?

MARGED ANN (*yn hamddenol*) : 'Rwy'n bwriatu roi gwers i Isaac. Ma'n ddyletswydd arno-i fel menyw i roi gwers i Isaac.

RHIANNON : Fe gelsa bryd o dafod gen-i, a wetyn fe ddangoswn y drws iddo fa.

MARGED ANN : O na, fe fydda-i'n garetig iawn i Isaac, yn garetig iawn. Fe fydd Isaac yn

ffaelu dyfalu beth sy'n bod, ond druan ag e, fe gaiff Isaac wers !

(*Diflanna* MARGED ANN *ar y dde. Ymgymer* RHIANNON *ag ysgrifennu. Yn union clywir tri ergyd ysgafn ar y ffenestr, a rhed* RHIANNON *tua'r drws yn y cefn. Ymddengys yr M.O.H. Anesmwytha* RHIANNON, *gan edrych tua'r drysau, ar y naill law a'r llall.*)

RHIANNON (*yn gyffrous*) : Pam ddithoch-chi yma ! Rhaid ych bod chi'n ynfyd. Fe wyddoch o'r gora i fi wêd wrthoch-chi am bito dod : on-ni'n mynd i sgrifennu atoch-chi nawr.

M.O.H. (*yn ddiofal*) : Popath o'r gora, 'nghariad-i. Fe geso-i gip ar y Ficer a'ch tad, a'r pwyllgor nawr trw ffenast y ffrynt, ma nhw wrth 'u bodd.

RHIANNON (*yn ymaflyd yn y "Gazette"*) : Welsoch-chi'r *Gazette ?*

M.O.H. : Naddo ; pam ?

RHIANNON (*yn cyfeirio at y llythyr*) : Darllenwch hwnna. (*Darllena'r M.O.H. y llythyr a chwardd tua'i ddiwedd.*) O Tudor, shwt y gallsach-chi neud y fath beth ?

M.O.H. : Y fi ! 'Dych-chi ddim yn meddwl ta fi sgrifennws hwn !

RHIANNON : Na ; 'dwy-i ddim yn cretu 'ny ond—

M.O.H. : Ond beth ?

RHIANNON : 'Rôdd Tomos Jones—

M.O.H. : O—Tomos Jones, iefa ? Fe licswn-i roi pilsan fach i Tomos Jones.

(*Tyn yr M.O.H. botel fawr allan, a gwddf hir iddi, yn llawn gwlybwr melyn-wyrdd.*)

RHIANNON : Y moddion !

M.O.H. : Ia, dyma'r moddion. 'Rwy wedi cymryd golwg arall ar y claf.

RHIANNON : Ma 'nhad yn cretu 'i bod hi rhyw gymant yn wâth heddy.

M.O.H. : Ma'ch tad yn 'i lladd hi cyn gyntad ag y gall cwacyddiath ladd anifal, ond ma'r cratur druan ar 'i gora yn ymladd am 'i bywyd. 'Rwy'n gweld 'i fod-a'n rhoi rhyw foddion arall iddi heddy.

RHIANNON : Oti, ma-fa : gingar wedi falu gita hata caraway a hannar dwsan o betha erill. (*Yn syllu ar y botel*). Otych-chi'n siwr ta dyna'r moddion gora i roi iddi ?

M.O.H. : Na. Y peth gora fysa'i chymryd hi i rwla o afal ych tad. Fe wellsa ar unwaith wetyn. Allwn ni ddim gneud 'ny, ond fe 'naf fy ngora o dan yr amgylchiata (*yn dal y botel i fyny*). Ma hwn yn *sedative*, yn *soporific*, ac yn *restorative*.

RHIANNON (*yn amheus*) : 'Rych-chi'n wherthin ar y mhen-i.

M.O.H. : Fuws dim doctor eriod yn fwy difrifol.

RHIANNON (*yn ofnus*) : Beth tsa-chi'n dicwdd gneud camsyniad, a lladd y fuwch, a nhwnta'n dod i wpod. Meddylwch beth fysa'r canlyniata. Na

chewch-chi 'm o'i roi-a. Gadewch iddi fod, i farw, os bydd 'raid, o dan ddwylo 'nhad.

M.O.H. : Na merch-i, ma'n rhaid achub bywyd y fuwch, a mwy na hynny, rhaid i'ch tad gâl diall, yn ol llaw, pwy achubws hi.

RHIANNON (*â'i llygaid yn gloywi*) : O fe fysa hynny'n hyfryd. (*Eto'n amheus.*) Os ych-chi'n itha siwr.

M.O.H. : Ma isha gorffws a chysgu ar y fuwch yn fwy na dim. Ma cyfansoddiad ardderchog gita-hi, ond ma'ch tad wedi 'i phoeni a'i doctora hi bron i farwolath. (*Yn trafod y botel.*) Fe ddotiff hwn hi miwn cyflwr na all neb neud dim iddi am betar awr ar ucian. Fe fydd yn gwmmws fel tsa hi wedi marw—*state of coma,* chi'n gweld, ond yr amsar hyn nos yfory. fe fydd bron yn holliach.

RHIANNON : Ma 'nhad yn gwpod mod-i gita-chi y p'nawn ma ar lan yr afon. Y fi, medda-fe, yw'r bratwr.

M.O.H. (*yn chwerthin*) : O na, y fi yw'r bratwr ; ar y ngora i wella'r fuwch pan y dylswn-i 'i chwpla-hi. Tsa 'nhad ddim ond clwad am hyn ! Ia, ia, y fi yw bratwr egwyddorion mawr cydraddoldeb crefyddol (*yn chwerthin*). Dim ond o herwydd pâr o lyced glâs, dwy foch goch (*yn cydio ynddi*), a'r gwefusa perta fuws gan grotan eriod (*yn ei chusanu*).

RHIANNON : Tudor !

M.O.H. (*yn trafod y botel*) : Wel ma'n well iddi gâl-a nawr. Otych-chi'n dod ?

RHIANNON : Allwch-chi roi-a hebddo-i ?

M.O.H. : O galla.

RHIANNON : Wel ma'n well i fi sefyll fan hyn, i roi rypudd os daw rywun.

(*Diflanna'r* M.O.H. *Erys* RHIANNON *ar y trothwy gan wylied. Ymddengys* MARGED ANN *ar y dde â phadell odro yn ei llaw.*)

MARGED ANN : Pam ych-chi'n sefyll man'na ?

RHIANNON (*yn ddryslyd*) : Y fi ?—on i'n meddwl falla—wel—dim ond mynd i ben y drws i weld os ôdd y lleuad yn llawn.

(MARGED ANN *yn arllwys dŵr berw ar y badell.*)

MARGED ANN : Y lleuad yn llawn heno ! 'Rôdd hi'n llawn ys wthnos a racor. Ma'r lleuad ar 'i gwendid heno.

RHIANNON : Ma ofan y lleuad arnoch-chi, Margad Ann, pan fydd hi ar 'i gwendid.

MARGED ANN : Nagos dim ofan arno-i ; ond ôs dim lwc yn dod o neud dim byd pwysig pan y bydd hi felny.

(*Diflanna* MARGED ANN *ar y dde. Erys* RHIANNON *wrth y drws. Cyfyd ei llaw yn sydyn i rybyddio yr* M.O.H., *yr hwn sy'n agoshau. Ar ol gwrando am ychydig, amneidia iddo ddynesu. Ymddengys yntau.*)

RHIANNON : Shwt y cymrws-hi a ?

M.O.H. : Dim traffarth o gwbwl.

(RHIANNON *yn gwylltu ac yn clustfeinio.*)

RHIANNON : Hsh ! Ma rhywun yn dod—

(*Diflanna'r ddau tu allan. Daw* ISAAC LEWIS *i mewn ar y dde. Ymddengys yn syn wrth weld y gegin yn wag.*)

ISAAC : Margad Ann——Margad Ann !

MARGED ANN (*yn ymddangos ar y chwith*) : Ia (*yn fwyn*) O, chi sy 'na, Isaac ; be' chi'n moyn ?

ISAAC : Gretas-i i fi glwad ych llais chi, yma yn y gecin.

MARGED ANN (*yn fwynach eto*) : Naddo : dim ond ych dychymyg chi ôdd-a, Isaac.

ISAAC : Wel dyna beth ryfadd—a nid mor ryfadd chwaith. 'Rwy'n clwad ych llais chi'n amal pan y byddwch-chi mhell odd'wrtho-i.

MARGED ANN (*yn gefnogol*) : Beth ma'n llais i'n wêd, Isaac.

ISAAC : Dim ; dim byd y gall dyn ddiall, ond yn amal iawn, pan y bydda-i 'n ishta o flân y tân gita'r nos, yn rhyw hannar bryddwyto, 'rwy'n clwad ych llais chi, ys gwetws yr hen gân Sisnag, *sweet and low.*

MARGED ANN : Fe 'llwch fentro ta'n ysbryd-i sy 'na.

ISAAC (*yn gyflym*) : Dyna-hi, 'lwch-chi. Ma'ch hyspryd chi'n folon dod, pam na ddewch chi——

MARGED ANN (*â'i bys yn ei warafun*) : Hsh ! Pitwch sôn dim am hynna heno.

ISAAC (*yn syn*) : Pam ?

MARGED ANN (*ddifrifoled a'r farn*) : Ma'r lleuad ar 'i gwendid heno.

(*Ymddengys* NATHANIEL *a'i bwyllgor ar y dde.*)

DAFYDD : Wel, dyna'r Ficar a ninna'n diall y'n gilydd, ta pun.

TOMOS JONES : Otyn, otyn : cwnnwch ych calon, Mr. Morgan, ma'r Eclws ar ych hochor chi nawr.

NATHANIEL (*yn bruddaidd*) : Wn-i yn y byd ! Ys truan o ddyn wy-i. Dyma fi, yn sefyll lecshwn fel *Rural District Councillor,* a 'nâth yr Hollalluog neb eriod yn llai tepyg i un ; ma gen-i *address* nâg os neb cyffretin yn 'i diall hi ; 'rwy'n colli dwy fuwch a wmradd o arian ; y mhlentyn i'm hunan wedi troi'n fratwr, y petwar capal fel gwenyn yn y mhen-i,—a dim ond achos fod Siencyn Bifan a ofan i ddod â'i gôr yn erbyn 'y nghôr i unwaith eto.

DAFYDD (*yn ymaflyd yn y Gazette*) : Fe roiswn-i rwpath i wpod pwy sgrifennws y llythyr-ma.

TOMOS JONES : Twt, twt, pwy ond mab Siencyn Bifan sgrifennws-a ?

DAFYDD (*yn syllu ar y Gazette*) : Helo, welsoch-chi hwn ?

NATHANIEL : Beth ?

DAFYDD : Ma 'na steddfod fawreddog i'w chynnal ym Mhontypridd mish Awst nesa. Can

punt o wopor am y prif ddarn, i gora ddim llai na dou gant o leisha.

NATHANIEL (*yn cipio'r papur o'i law*) : Can punt, Hwre ! Dyma gyfla i Siencyn Bifan ; ma'n rhaid iddo-fa ddod yn f'erbyn-i nawr. Fe ro-i shalans iddo'n gyhoeddus. 'D yn-ni eriod wedi cystadlu am fwy na ucian punt o'r blân. Ia, dyma gyfla iddo-fa nawr. Drychwch-ma, os addewiff Siencyn i ddod â chôr yn f'erbyn-i ym Mhontypridd, fe gaiff fod yn *Rural District Councillor* a chroeso.

ISAAC : Cymrwch bwyll, Nath, cymrwch bwyll. Ma'n rhaid i chi roi buwch i'r *Bazaar*, ond ôs-a ?

NATHANIEL : Os.

ISAAC : A ma'r fuwch yn mynd i ennill y lecshwn i chi. Fe 'llwch-chi roi shalans i Siencyn a bod yn *Rural District Councillor* yn y fargan.

NATHANIEL : Beth wy-in' brisho am lecshwn ? Dim. Cerddor wy-i, arweinydd cora, y cerddor mwya yn Llanybryn, nid o ran y mod i'n 'i wêd-a, ond y cerddor mwya yn Llanybryn, a 'dyw Llanybryn ddim yn cretu 'ny. Dyna beth sy'n'y nifa i (*â'i law ar ei fynwes*) nos a dydd. Lecshwn, a buwch yn wir ! Os yw Siencyn yn folon cystadlu yn f'erbyn-i unwaith eto, 'rwy'n folon roi buwch i bob ffeirad yn y wlad, a os hwrniff y capeli lawar, fe af-fi'n ol at yr Eclws ! (*Yn symud tua'r drws.*) Dewch ymlân, dewch i ni gâl gafal ar Siencyn i gâl gweld beth wetiff-a.

MARGED ANN : Ma'n bryd i'r fuwch gâl 'i moddion, ond yw hi ?

NATHANIEL (*yn fwy pwyllog gan edrych ar y cloc*) : Oti, ma-hi. (*Rhed at y cawg sydd ar y pentan*). Fydda'i ddim munad. (*Diflanna drwy ddrws y cefn.*)

DAFYDD : Dyna wopor hyfryd, ontefa. Can punt !

ISAAC : Ia'n wir, ond ma isha côr mawr. Chelsa Nathaniel byth gôr o ddou gant yng nghapal Sion.

DAFYDD : Fentra-i y maeddsa-fa Siencyn miwn cystadleuaeth fawr fel honna. Fe yw'n arweinydd gora ni.

RHYS : O ia, a ma Nathanial yn camsyniad wrth feddwl nag yw Llanybryn ddim yn cretu 'ny.

TOMOS JONES : Crety 'ny, otyn, bob copa byw sy yn y pentra, a ma Siencyn yn gwpod 'ny hefyd 'i hunan.

DAFYDD : Whara-teg i Siencyn, fe'i clwas-i a'n cyfadda 'ny yn Waunadda. Ond wrth gwrs ma Siencyn yn lico poeni ticyn ar Nathanial.

(*Rhuthra* NATHANIEL *i mewn.*)

NATHANIEL (*yn groch*) : Murdar ! *foul play, foul play !*

AMRYW : Beth sy ? Beth sy'n bod ?

NATHANIEL : Ma'r fuwch wedi marw !

PAWB : Marw !

NATHANIEL : Oti, a ma rhywun wedi bod 'na, rhyw ddyn (*wrth* MARGED ANN). Dewch a thyn bara i fi.

MARGED ANN : Tyn bara !

NATHANIEL : Ia, tyn bara, un mawr, whaff ! (*Estyn* MARGED ANN *dyn bara mawr iddo. Rhed* NATHANIEL *tua'r drws a'r pwyllgor yn ei ganlyn*). Sefwch 'nol, sefwch 'nol, pitwch dod mâs nawr.

(*Safant, rhai wrth y drws, rhai wrth y ffenestr.*)

TOMOS JONES : Beth gynllwn ma fa'n neud ?

DAFYDD : Ma fa'n palu yn y clai.

ISAAC : Dyna fa'n cwnni'r clai i'r tyn bara.

MARGED ANN : Clai brwnt yn 'y nhyn bara-i !

RHYS : Hsh ! Dyma fa'n dod.

(*Rhuthra* NATHANIEL *i mewn eto a gesyd y tyn bara ar y bwrdd. Tyrrant oddiamgylch.*)

NATHANIEL (*â'i fys ar y clai*) : Trôd pwy yw honna ?

TOMOS JONES : Trôd rhyw ddyn yw-hi, ta-pun.

DAFYDD : Sylwch ar yr hoelon ; nid esgid gyffretin yw hi.

ISAAC : Pritchard, 'rych chi'n grydd. Otych-chi'n napod yr esgid 'na ?

RHYS (*yn manylu ar yr argraff*) : Y fi 'nâth yr esgid 'na !

NATHANIEL : Y chi !

RHYS : O'r braidd y galla-i gretu'm llyced.

NATHANIEL : Trôd pwy yw hi ?

RHYS : Y *Medical Officer of Health !*

PAWB (*yn syn*) : Y *Medical Officer of Health.*

NATHANIEL (*yn cydio yn y tyn*) : Dewch ymlân ; fe ewn â hwn ar unwaith at 'i dad. Fe gaiff Siencyn dalu am hyn.

TOMOS JONES : Os yna racor o olion 'i drâd-a ?

NATHANIEL : Os, dicon.

TOMOS JONES : Wel, gadewch i ni gâl bob o un.

(*Clywir sŵn cloch y criwr yn y pellter.*)

ISAAC : Hsh, gwrandewch.

(*Clywir y llais yn weddol o eglur.*)

CRIWR : Gwrandewch, a dalier sylw. Cynhelir cyfarfod cyhoeddus nos yfory, ar sgwar y pentra, i wrthdystio yn erbyn dull Mr. Morgan o ymladd y lecshwn. Anerchir y cyfarfod gan Mr. Siencyn Bifan. Gwahoddiad cynnes i bawb. Duw gadwo'r Brenin !

(*Ymddengys* RHIANNON *ar y chwith.*)

NATHANIEL : Na, ewn-ni ddim lawr yna 'nawr. Gwell i ni aros tan nos yfory. Fe'i cyhudda-i a'n gyhoeddus ar y sgwar.

TOMOS JONES : Clywch, clywch !

RHIANNON : Beth sy'n bod ?

NATHANIEL : Ma'r fuwch wedi marw.

RHIANNON : Marw, 'nagyw 'nhad bach, 'dyw-hi ddim ond miwn *state of coma.*

NATHANIEL : Comma ! dim o dy gomma di, ma-hi wedi mynd yn *full-stop !*

LLEN.

## Y DRYDEDD ACT.

ADEG : *Yr hwyr canlynol.*

LLE : *Siop* ISAAC LEWIS.

[*Pan gwyd y llen, gwelir fod yr ystafell yn wag, a'r drws yn y cefn ynghau. Cyn hir, datgloir y drws a daw* ISAAC *i mewn a thyn bara dan ei fraich. Dilynir ef gan* PETERS, PRITCHARD, TOMOS JONES, *a* MARGED ANN, *bob un â thyn bara dan ei gesail. Gosodant y tyniau bara yn rhestr ar y llawr.*]

DAFYDD : Ble ma Nathanial ?

ISAAC : Bratu amsar, 'llwch fentro, wrth gisho câl Riannon i gario tŷn.

RHYS : Ma fa dicyn yn galad ar y ferch, yn ol y meddwl-i. Cofiwch-chi, 'rôdd genti olwg fawr ar y Doctor.

MARGED ANN : Yn galad, wetsoch-chi ? Tsa hi ddim ond hannar menyw, fe fysa'n folon cario dwsan o dyns ar ol y tro brwnt wnâth e â hi.

RHYS : 'Rwy o'r farn hefyd ych bod chi dicyn yn galad ar y bachgan ifanc.

MARGED ANN : Otych feginta. 'Rych chi'r dynon wastod yn sefyll yn gryf dros ych gilydd wâth yn y byd beth 'newch chi â ni'r menywod

druan. Licswn-i gwrdd â'r dyn elsa a'm serch i felna a wetyn bot shwd flagard. Fe gelsa fe wers !

ISAAC : Itha right, Margad Ann.

MARGED ANN (*yn fygythiol yn wyneb* ISAAC) : Celsa Isaac, fe gelsa wers ag i gwnni cwilydd arno fa eriod gâl i eni'n ddyn.

DAFYDD (*yn edmygu'r tyniau*) : Wel, ôs dim troi'n ol ar rhain, ta pun ; dyna beth wy-i'n alw'n *evidence.*

RHYS : Wn i ddim yn wir. Falla y bysa-hi'n well i ni aros ticyn.

ISAAC : Yn enw pob synnwyr i beth ? Cystal i chi wêd eto nag yw'r fuwch ddim wedi marw.

RHYS : Y marn onast i yw hyn : 'dyw'r fuwch ddim wedi marw, ond mewn *trance* y ma hi.

TOMOS JONES (*yn watwarus*) : *Trance,* buwch miwn *trance !*

RHYS : 'Rwy wedi gweld llawar i fuwch farw cyn heddy, ond welas-i eriod o depyg hon. 'Dyw hi ddim wedi whyddo ryw lawar : 'dyw 'i haelota hi ddim yn stiff ac o'r braidd y gallwch-chi wêd 'i bod-hi wedi oeri miwn amball i fan.

MARGED ANN : Ond beth wetws y ffarriar ? Y gall 'i chorff hi fod felna am ddwrnota, o herwydd y math o wenwn gas hi.

TOMOS JONES : Fe ddylsid câl *inquest* arni, a *phost mortem* (*yn chwyddedig*) ia, ia, *post mortem* —dyna'r unig ffordd i weld pun a byw ne marw yw hi.

(*Ymddengys* NATHANIEL *a thyn bara o dan bob cesail.*)

MARGED ANN : Ble ma Rhiannon ? Wrthotws hi gario tyn bara ?

NATHANIEL : Fe'i cariws-a hyd bont yr afon a wetyn fe'i towlws-a i'r dŵr. Gorffod i fi fynd nol i lanw un arall.

RHYS : Gwelsoch-chi'r Ficar heddy ?

NATHANIEL : Naddo-i ; pam ?

RHYS : 'Rwy wedi bod yn meddwl fel hyn : fe fysa'n beth o'r gora i ni gymall y Ficar i'r cyfarfod heno i roi ateb cyhoeddus i'r llythyr yn y *Gazette.* 'Rwy'n cretu y delsa fa.

ISAAC : Dyna syniad da digynnyg, Rhys.

NATHANIEL : Wn-i a ddelsa-fa ?

DAFYDD : Dod, delsa. Chelsa-fa byth well cyfla i wêd gair am y *raffle.*

NATHANIEL : 'Dwy-i ddim yn lico mynd ato-fa 'm hunan.

TOMOS JONES : Ddewn-ni gita chi.

NATHANIEL : Dewch-chi'n wir ? O'r gora ta.

ISAAC (*yn brysio ar y drws ar y dde*) : Fe fydda-i gita-chi miwn munad.

(*Diflannant i gyd drwy ddrws y cefn oddieithr* MARGED ANN. *Try* DAFYDD *yn ol am ennyd.*)

DAFYDD : Gesoch-chi'r *cheque* y bora 'ma ?

MARGED ANN : Do, do, dyma-fe.

(*Tyn* MARGED ANN *cheque allan o'i mynwes.*)

DAFYDD: Gwarchod pawb! Man'na chi'n 'i gatw-a! Cerwch ag e i'r banc, cerwch ag e i'r banc.

MARGED ANN: O ma'n itha sâff (*gan wenu'n gellweirus*). Chi'n gweld, Dafydd, 'rwy-i am ddangos-a i rywun (*gan gyfeirio bys at y drws lle y diflanasai* ISAAC).

DAFYDD (*yn gwenu*): O, 'rwy'n gweld.

(*Diflanna* PETERS. *Eistedd* MARGED ANN *ar y chwith a'i hwynepryd direidus yn gwylio'r drws ar y dde. Cyn hir clyw sŵn traed* ISAAC *yn dynesu, a thrawsnewidir ei hwynepryd gan dristwch eithafol. Ymddengys* ISAAC. *Aflonyddir ef yn arw wrth glywed* MARGED ANN *yn griddfan. Ymddengys hithau fel pe yn hollol anymwybodol o'i bresenoldeb. Erys* ISAAC *yn fud am ychydig gan syllu arni, heb wybod beth i'w wneuthur nac i'w ddywedyd.*)

ISAAC (*yn deimladwy*): 'Rych-chi wrth ych hunan, Margad Ann.

MARGED ANN (*fel pe yn syn, ac hefyd yn cywilyddio*): Oh, 'rych-chi 'na, Isaac.

ISAAC: A 'rych-chi miwn gofid, hefyd. (*Yn nesu.*) Pam ych-chi'n griddfan? 'Rwy wedi'ch clwad chi'n griddfan sawl gwaith heddy.

MARGED ANN: O dim byd, Isaac, dim byd. Ma'n well i chi fynd, ne ddalwch chi byth mohonyn nhw.

ISAAC (*yn nês*) : Nagw-i ddim yn mynd. Ffordd y galla i fynd a'ch gweld chitha mor ofitus ? Beth sy'n bod, Margad Ann ? Gadewch i fi gâl shâr o'ch gofid chi.

MARGED ANN : Na ; 'rwy wedi cadw ngofitia i fi'm hunan hyd yn hyn. Ma-hi'n rhy ddweddar i fi rhannu nhw â neb arall nawr.

ISAAC : 'Dyw-hi byth yn rhy ddweddar Dyna lle chi'n camgymeryd, 'y merch annwl-i. Fe nelswn-i bopath i'ch cysuro chi ; fe wyddoch hynny o'r gora.

MARGED ANN (*ymdrech galed !*) : Cerwch nawr Isaac. Ma traffarth a gofid yn neud i fi deimlo'n wan. 'Dyw-hi ddim yn deg i chi gymryd mantas arno-i nawr.

ISAAC (*yn nês eto*) : Beth sy'n ych blino chi, ym merch-i, a phwy raid sydd i ddim ych blino chi ? Pam na ddewch-chi yma ato-i, i aros am byth gen-i. Fe allsach fyw fel breninas, yma gen-i, a chelsa cysgod gofid na thrallod fyth dywyllu'n haelwyd ni.

(*Saif* ISAAC *erbyn hyn tu cefn i* MARGED ANN *â'i law ar gefn ei chadair, ymron ar ei hysgwydd. Felly ni all weld ei hwyneb.*)

MARGED ANN (*yn codi ar rith un mewn cyfyngder mawr*) : 'Rwy'n mynd : alla-i ddim godda'ch clwad chi. 'Rwy'n rhy wan heno ;

'rwy'n teimlo mod-i ar roi ffordd, a 'dwy-i ddim am roi ffordd.

ISAAC (*â'i ddwylo ar ei hysgwyddau, eto yn odiaeth o dyner*) : Ishteddwch lawr, Margad Ann. Na, nid yn wan ych-chi heno. Ma gofid a thrallod yn ych dangos chi yn ych lliw priotol, yn fenyw dyner, dwymgalon, fwriatwd i fod yn gysur ac ymgeladd gymwys i ryw ddyn ne'i gilydd.

MARGED ANN (*yn eistedd dan wrthdystio*) : 'Rych-chi'n neilltuol o garetig, Isaac, yn garetig dros ben, a finna wedi'ch trin chi mor swrth a chreulon a chalad.

ISAAC : Pitwch a sôn, 'y merch annwl-i, pitwch a sôn. Mwya swrth a chreulon a chalad yr och-chi, mwya i gyd on-inna yn ych caru chi. Margad Ann, gadewch i fi fod yn bartnar bywyd i chi.

MARGED ANN (*fel pe ar wylo*) : 'Dyw-hi ddim yn deg i chi ofyn i fi nawr.

ISAAC : Ond alla-i ddim godda'ch gweld chi'n llefan. Pam ych chi'n llefan ?

MARGED ANN (*yn wylo'n hidl*) : Alla-i——— alla-i ddim gwêd wrthoch-chi.

ISAAC : Gallwch, gallwch, wrtho i. Dewch nawr, gwetwch beth sy'n bod.

MARGED ANN : Ma'n rhaid i fi wêd wrth rhywun. Alla-i ddim gwêd wrth Nathaniel, a fynta

ynghanol trafferthion 'i hunan; alla-i ddim gwêd wrth Riannon druan.

ISAAC: Ond fe 'llwch wêd wrtho-i.

MARGED ANN: 'Rwy wedi bod yn fenyw ofalus a chynnil eriod.

ISAAC: Otych, 'rych-chi.

MARGED ANN: Fe fuas am flynydda yn partoi ar gyfar fy hen ddyddia, yn talu arian mawr bob blwyddyn am dros ucian mlynadd i gâl *endowment*, a nawr pan ma'r amsar bron ar ben—o——o——!

(MARGED ANN *yn griddfan ac yn wylo.*)

ISAAC (*mewn braw*): Beth sy, beth sy'n bod?

MARGED ANN: Wedi mynd, y cwbwl yn ofar!

ISAAC: Yn ofar!

MARGED ANN: Ma'r cwmni wedi torri!

ISAAC (*yn gwelwi*): Torri!

MARGED ANN: Oti, wedi torri! Fe ddylsa fod cwilydd ar wynab Dafydd Peters. Wedi mynd, wedi mynd!

(*Gwna* MARGED ANN *ymdrech i lywodraethu ei theimladau; sych ei dagrau, gan ymostwng, fel petai, i'w thynged.*)

MARGED ANN: Hen fyd calad yw hwn, Isaac.

ISAAC (*gydag argyhoeddiad*): Ia, calad iawn.

MARGED ANN: Yn llawn shomedigaetha.

ISAAC (*fel un mewn breuddwyd*): Yn llawn shomedigaetha.

MARGED ANN (*yn maldodi ei law, sydd ar ei hysgwydd*) : Ond 'rych-chi'n ffrind i'r carn. Miwn traffarth, gofid, a shomedicath, ma gita ni un cysur, ys gwetws yr hen gân Sisnag, "*I've got you, and you've got me!*"

ISAAC (*â'i olygon i fyny*) : Gwir bob gair—*You've got me!*

MARGED ANN (*wrth ei bodd, erbyn hyn*) : On-i'n greulon iawn i chi nithwr, Isaac? Chi'n cofio? Fe wetsoch fod ym hysbryd-i'n folon dod, ag och-chi am ofyn rwpath arall i fi.

ISAAC : On-i?

MARGED ANN : Och, och; wy'n folon i chi ofyn i fi nawr.

ISAAC (*mewn penbleth*) : 'Ron-i——'ron-i'n mynd i ofyn———

MARGED ANN (*yn ei gynorthwyo*) : Ia, machgan annwl-i!

ISAAC : 'Ron-i, 'ron-i'n mynd i ofyn i chi——i ofyn——i ofyn i chi—(*wedi ei ysbrydoli yn sydyn*). Beth am y lleuad heno?

(*Llama* MARGED ANN *ar ei thraed a chipia'r cheque o'i mynwes gan ei ddal o flaen llygaid* ISAAC. *Syll yntau ar y darn papur fel un mewn llesmair.*)

MARGED ANN : Drychwch arno-fa, Isaac! Drychwch! Wech ucian a wech o bunna, yn arian i bob dima (*yn chwifio'r cheque yn ei wyneb*) yn arian i! Yr hen llyffan, ia, yr hen sarff!

ISAAC (*yn dadebru*) : Cratur cnacog, cratur cnacog iawn ych-chi, Marged Ann.

MARGED ANN : Cnacog, iefa, cnacog ! (*yn codi ei braich rymus*). Dim gair arall, Isaac, wâth ma'n natur i'n cwnni. Cnacog, iefa ? Arhoswch chi'r hen ffesant, ma'r cnac gwaetha ar ol eto !

(*Ymddengys* NATHANIEL *a'r pwyllgor.*)

DAFYDD (*wrth* ISAAC) : Bachgan nêt ych-chi ! Gretas-i ych bod chi'n dod gita ni.

MARGED ANN : Gadewch Isaac yn llonydd, ma fa wedi bod yn y nifyrru i.

(*Gwna* ISAAC *ymgais i guddio ei ddryswch a diflanna ar y dde.*)

RHYS : Wel, wy'n falch i ni weld y Ficar.

NATHANIEL : Otw inna hefyd ; stroke dda ôdd-hi.

TOMOS JONES (*yn sbio drwy y ffenestr*) : Ma'n bryd i nhw ddechra dod nawr.

DAFYDD : Fe fyddan yma cyn bo hir, 'dyn-nhw ddim wedi dod mâs o'r *Penny Reading* eto.

NATHANIEL : *Penny Reading* heno ! Wel, wel, 'rwy'n anghofio popath nawr. 'Ron-nhw wedi gofyn i fi feirniatu.

DAFYDD (*wrth y ffenestr*) : Helo, dyma Samson y Gôf yn dod.

(*Tyrrant i'r ffenestr a daw* RHIANNON *i mewn yn ddiarwybod iddynt.*)

TOMOS JONES: A Ned Parry'r clocswr—atar o'r unlliw—

NATHANIEL: A Ianto Tŷ-top!

(*Yn y cyfamser, neshâ* RHIANNON *yn lladradaidd at y tyniau bara a phrysura i ddamsang y clai yn y naill ar ol y llall. Pan ar ddistrywio'r trydydd, dargenfydd* NATHANIEL *hi. Rhuthra tuag ati, gan floeddio, a saif rhyngddi a'r lleill.*)

NATHANIEL: Beth sy'n dy feddwl di, ferch, wyt-ti wedi colli dy synhwyra?

(*Try y lleill erbyn hyn.*)

RHIANNON: O 'nhad; 'dych-chi ddim yn bwriatu dangos rheina!

NATHANIEL: Aros nes bo'r dorf yn dod; fe gai-di weld wedyn.

RHIANNON: Allwch-chi ddim aros ticyn? Arhoswch nes daw Tudor'n ol; rhowch gyfla iddo fa i amddiffyn 'i hunan.

MARGED ANN: Fe fydd rhaid aros amsar maith cyn daw e'n ol. 'Dwy-i ddim yn cretu y gweliff Llanybryn 'i *Medical Officer of Health* am rai blynydda.

RHIANNON: Dyna beth dieflig i wêd! Dim ond wedi mynd am dro i Gwm Lluest y ma fa. Fe fydd 'nol cyn nos.

TOMOS JONES: Ma'n nês gen-i gretu i fod-a ar y ffordd i Lifarpwl. Y gwletydd tramor yw'r unig fan sâff idd 'i short e.

RHIANNON : Pitwch a gwrando ar rhain 'nhad. Meddyliwch mor annheg yr ych-chi. 'Dôs dim sicrwdd fod y fuwch wedi marw.

NATHANIEL : Os nag-yw hi, fuws dim buwch farw eriod.

RHIANNON : A beth os yw-hi wedi marw, 'dôs 'na ddim prawf mai'r hyn gas-hi gita Tudor lladdws hi.

TOMOS JONES : Fe 'llwch fentro na roisa mab Siencyn Bifan ddim iddi, ond idd 'i lladd hi. Pitwch a roi ffordd nawr, Mr. Morgan.

MARGED ANN : Na pitwch a gwrando arni, Nathaniel. (*Wrth* RIANNON.) Dim ond er ych lles chi ma hyn, a feddewch i weld 'ny mhen amsar.

RHIANNON (*yn ddigllon*) : Byddwch ddistaw, 'newch-chi ! Pwy sydd am ych barn na'ch cyngor chi. Gadewch rhyngto-i a 'nhad. (*Yn erfyniol.*) 'Nhad, 'rwy'n gofyn i chi unwaith eto, pitwch a gneud hyn.

NATHANIEL : Ma'n rhaid i fi, 'y merch-i. 'Dyn-nhw ddim yn ymladd yn deg.

RHIANNON : Tsa gita chi ddim golwg arno-i, nelsa chi ddim.

TOMOS JONES : 'Dôs dim isha i chi siarad felna, Miss Morgan.

NATHANIEL (*yn llym*) : Pwy raid i chi ymhela dim sy, Tomos Jones. Mindwch chi'ch busnas.

TOMOS JONES : O'r gora——o'r gora.

RHIANNON : 'Nhad, os gnewch-chi hyn, fe ddistrywiwch Tudor am byth a fe—(*yn dechreu wylo*)—fe dorrwch y nghalon inna.

(NATHANIEL *yn ymollwng ac yn ei chofleidio*.)

NATHANIEL : Dyna, dyna, merch-i. Paid a llefan. Fe gai ddamsang arnyn-nhw bob un. Dewch a nhw 'ma, Tomos Jones.

TOMOS JONES (*yn swrth*) : Na ddwa-i.

MARGED ANN : Fe ddylsa fod cwilydd arnoch-chi, Nathaniel, Ma-hi'n câl 'i ffordd ym mhopath.

NATHANIEL : Margad Ann, mindwch chitha'ch busnas hefyd.

(*Diflanna* MARGED ANN *o'r ystafell mewn soriant.*)

RHYS : Beth tsa chi'n hela i moyn Siencyn Bifan i gâl gair gita fe gynta.

NATHANIEL : Wâth gen-i. Dyna, paid llefan, paid llefan. 'Rwy'n folon câl gair gita Siencyn gynta. Ble ma-fa ?

RHIANNON : Yn beirniatu yn y *Penny Reading*.

NATHANIEL (*yn wenfflam*) : Beth ! Dyna fe eto. Dyna Siencyn Bifan ar 'i drôd, bob cyfla gaiff-a.

RHYS : Whara-teg nawr, Nathanial. Odd yn rhaid i rhywun feirniatu, ag i chi ofynson-nhw gynta. (*Wrth* RIANNON.) Cerwch i moyn-a Miss Morgan.

NATHANIEL : Ia, cer i moyn-a.

(*Diflanna* RHIANNON. *Sŵn curo dwylo a chymeradwyaeth tu allan. Gwelir* SAMSON *y gof yn eglur drwy y ffenestr yn sefyll ar y garregfarch.*)

DAFYDD : Dyna Samson ar 'i drâd. Nawr am dani !

SAMSON : Foneddicion a boneddigesa. 'Rwy am neud ymddiheurad ar ran Mr. Bifan am fethu bod yma miwn pryd. Nid arno fe ma'r bai. Fe ofynwd i Mr. Morgan i feirniatu yn y *Penny Reading* heno, ond am ryw ddirgelwch ne'i gilydd, 'rôdd yn well gen Mr. Morgan i gerad ar hyd y pentra a thyn bara o dan bob cesal.

NATHANIEL (*yn cydio mewn tyn ac yn cyrchu tua'r drws*) : O'r gora, Samson——

RHYS (*yn ei atal*) : Na, na ; arhoswch funad. Gadewch iddo fynd mlân.

SAMSON : Fel y gwyddoch-chi, fe fuws Mr. Bifan yn ddicon mawrfrytig i gymryd 'i le fa, a 'rwy'n beiddio dweyd iddo roi mwy o foddlonrwydd nag a allsa unrhyw feirniad arall yn Llanybryn.

NATHANIEL (*yn wyllt*) : Glwsoch-chi 'na !

DAFYDD : Do, do ; gadewch 'ddo fod ; gadewch 'ddo fynd mlân.

SAMSON : Fe fydd Mr. Bifan yma miwn ychytig o funuta, ond cyn iddo ddod, 'rwy am wêd gair miwn atebiad i gyhuddiad cwilyddus yn 'i erbyn e a'i fab parchus yr M.O.H. (*Banllefau.*) Y mae rhai wedi roi'r sôn ar led nag yw bwthynnod Mr. Bifan

ddim yn weddus i neb fyw yndi-nhw. "*Unfit for human habitation,*" dyna'r geira. ("*Cwilydd, cwilydd!*") 'Dos 'na neb o'i wrthwynepwyr yn ddicon wynabgalad i neud y cyhuddiad yn gyhoeddus. Ma nhw tu cefan i fi'r funad 'ma, yn siop y barbwr. 'Rwy'n roi her i un ohonyn nhw i ddod mâs fan hyn i neud y cyhuddiad gwarthus.

DAFYDD: Dyna chi, Tomos Jones; y chi gwetws-a. Dyna gyfla i chi.

TOMOS JONES (*yn gwrthgilio*): Na, cerwch-chi, Dafydd, cerwch-chi.

SAMSON: Ma'r atab gora i'r cyhuddiad yn y cyfarfod 'ma heno. Shân Robarts, beth yw'ch oetran chi?

SHAN: Petwar ucian a thair.

SAMSON: Ers faint ych-chi'n byw yn nhŷ Siencyn Bifan?

SHAN: Odd'ar'y ngeni, a mam 'run fath o 'mlân-i.

SAMSON: Beth ôdd oetran ych mam yn marw?

SHAN: Petwar ucian a dwy ar bymthag.

SAMSON: Ffordd buws-hi farw?

SHAN: Fe foddws yn yr afon. (*Ymddengys* RHIANNON.)

SAMSON: Boddi yn yr afon yn betwar ucian a dwy ar bymthag. *Unfit for human habitation!* (*Gwelir* SIENCYN BIFAN *yn awr yn sefyll wrth ochr* SAMSON. *Sibrwd Siencyn yn ei glust ac yna*

*diflanna.*) Ma Mr. Bifan yn gofyn i chi i esgusoti-a am ychytig funuta er mwyn iddo gâl gair gita Mr. Morgan.

(*Ymddengys* SIENCYN *yn y siop.*)

SIENCYN : Fe helsoch i'm moyn-i, Nathanial.

(*Sŵn siarad ac ambell chwerthiniad y tu allan, er nad yw'r trwst yn ddigon i beri unrhyw anhawster i glywed yr ymddiddan y tu mewn.*)

NATHANIEL : Do, Siencyn ; 'rwy am ddiolch i chi am feirniatu yn ym lle i heno.

SIENCYN : Nawr, Nathaniel, 'rwy wedi hen flino ar y cecran a'r crafu ma. Gadewch i ni hymladd hi'n fwy agorad a gonast—ymladd fel dynion. (TOMOS JONES *yn chwyrnu'n ffroenllyd.*) Ia, Tomos Jones, fel dynion, falla nag ych-chi ddim yn diall rwpath felna.

TOMOS JONES : 'Dyw un ochor damad gwell o ymladd yn agorad, os nag yw'r llall yn barod i neud 'run fath.

NATHANIEL : Nag yw ; Ond os ych-chi, Siencyn, yn barod i ddechra, 'rwy inna'n barod i'ch dilyn chi.

SIENCYN : Da iawn, Nathanial. (*Yn estyn ei law.*) Fe shiglwn law ar hyna.

NATHANIEL (*yn ei gwrthod*) : Na, 'roswch funad. (*Yn cydio mewn tŷn bara.*) Siencyn, beth welwch-chi man'na ?

SIENCYN (*yn syllu'n syn ar y clai*) : 'Rwy'n gweld ôl trôd rhyw ŵr-ne-was.

NATHANIEL : Wyddoch-chi ôl trôd pwy yw-hi ?

SIENCYN : Na wn-i.

NATHANIEL : Odi-ddi rwpath yn depyg i ôl esgid ych mab ?

SIENCYN (*yn manylu ar yr argraff*) : Am-wn-i nag yw-hi. Mae'r hoelon rwpath yn depyg. Pam ta ?

NATHANIEL : Ma'r fuwch addawas-i i'r Ficar wedi marw.

SIENCYN : Synnwn-i damad !

NATHANIEL (*yn rhybuddiol*) : Gofalwch be' chi'n wêd, Siencyn.

SIENCYN : 'Dwy-i ddim yn ych diall chi.

NATHANIEL : Fe fuws ych mab gita'r fuwch nithwr, fe roiws wenwn iddi, a chyn pen pum munad, 'rodd-hi mor farw a hoelan.

SIENCYN : Gadewch ych lol, da chi. Fuws Tudor ddim yn acos at y fuwch.

NATHANIEL : Riannon, der 'ma.

RHIANNON : Do, Mr. Bifan, fe fuws Tudor yno. Ond fe 'nâth 'i ora idd 'i hachub hi.

SIENCYN (*yn chwerw*) : Fe'i denwd-a yno, 'llwn feddwl, er mwyn dod a'r cyhuddiad hyn yn 'i erbyn-a. (*Encilia* RHIANNON, *fel pe'n osgoi ergyd.*) Na, na, 'y merch-i (*yn dyner, â'i law ar ei hysgwydd*) maddeuwch i fi ; 'don-i ddim yn meddwl yr hyn wetas-i, ma'n ddrwg gen-i.

(*Ymddengys yr* M.O.H.)

M.O.H. : Beth sy'n bod ?

SIENCYN (*yn llym*) : Fuast ti yn Nôl-yr-Onnan nithwr ?

M.O.H. : Do.

SIENCYN : Roiast-ti rwpath i'r fuwch ?

M.O.H. : Do.

SIENCYN : Wyddast-ti 'i bod hi wedi marw ?

M.O.H. : Na wn-i.

NATHANIEL : 'Rôdd hi'n itha marw cyn wyth o'r gloch.

M.O.H. : Fuoch-chi'n cisho gneud rwpath iddi wedi i fi fod 'na ?

NATHANIEL : Beth sy gan neb i neud nawr, ond 'i chladdu-ddi.

M.O.H. (*yn brawychu*) : 'Dych chi ddim wedi chladdu-ddi !

NATHANIEL : Nagyn ; ma-hi'n gorwadd 'run man ag ôdd-hi nithwr.

M.O.H. : O'r gora : fe ddangosa-i i chi pwy mor farw y ma-hi. (*Ar ddiflannu.*) Fydda-i 'nol cyn pen fawr amsar.

SIENCYN : Dera 'ma !

M.O.H. : Fydda-i ddim yn hir. (*Yn mynd.*)

DAFYDD : Fe fynna-i weld beth ma-fa'n mynd i neud.

TOMOS JONES : A finna hefyd. (*Diflanna'r ddau.*)

SIENCYN (*yn cyfeirio at y tyniau bara*) : Be 'chi'n fwriatu neud â rheina ?

RHIANNON : Dim byd, Mr. Bifan, dim byd.

NATHANIEL : 'Rwy'n mynd i ddangos i wŷr Llanybryn ych ffordd chi o ymladd.

SIENCYN (*yn edrych yn ddifrifol ar* NATHANIEL) : Nathanial, fe fuon-ni'n grots gita'n gilydd, y chi a fi. Fe geson yn macu tu fiwn i ercyd carrag i'n giddyl ; chytunson-ni ddim wastod—amball i ffra fach, nawr ac yn y man—ond yn y diwadd, allwch chi etrych yn yng wynab-i a gwêd mod i'n gyfrifol am farw'r fuwch. (*Ni etyb* NATHANIEL.) Na 'llwch ; Beth sy'n bod, Nathanial, beth sy'n bod ?

NATHANIEL (*yn blentynnaidd*): Pam na ddewch-chi â'ch côr yn erbyn 'y nghôr i unwaith eto ?

SIENCYN : Am fod yr un hen ysbryd bychanllyd, ishal ynglŷn â'r cystadlu ag sy ynglŷn â'r lecshwn 'ma eto. 'Rwy'n cyfadda mod i wedi poeni ticyn arnoch-chi, ond os ych-chi'n cretu mod i'n gwrthod cystadlu er mwyn ych profoco chi, 'rych chi'n camsyniad.

NATHANIEL : Nagw, 'dwy-i ddim yn camsyniad, a dyma gynnyg teg i chi nawr ; ma na gystadleuath ym Mhontypridd am gan punt.

SIENCYN : Os, y ma-fa.

NATHANIEL : Os addewch-chi ddod â chôr yn f'erbyn-i ym Mhontypridd, 'rwy'n folon roi ffordd i chi yn y lecshwn 'ma.

SIENCYN : Na 'na, ddim am bum cant.

NATHANIEL : Drychwch-'ma, dim ond i chi addo cystadlu, soniwn-ni ddim racor am rhain (*gan gyfeirio at y tyniau bara*).

SIENCYN : Ma perffaith groeso i chi neud 'rhyn fynnoch-chi â rheina. Falla fod Tudor wedi gweithretu'n ffôl, ond 'rwy'n siwr nag odd gita-fa ddim bwriad drwg. Os ych-chi'n barod i fod yn resymol ma gen-i gynnyg. 'Rwy wedi cael gwahoddiad odd'wrth bwyllgor yr Eisteddfod i ddod â chôr i Bontypridd.

NATHANIEL (*yn anghrediniol*) : O'n wir !

SIENCYN : Do ; ag os nag ych-chi yn y ngretu i, darllenwch hwnna (*yn estyn llythyr iddo*). Nawr, fe drosglwydda-i'r gwahoddiad i chi. Cerwch â chôr i Bontypridd ych hunan, a 'rwy'n folon i chi ddewish y lleisa gora o 'nghôr inna, fe fydd 'u isha nhw arnoch-chi yn y gystadleuaeth yna.

NATHANIEL (*braidd yn ddirmygus*) : 'Rych-chi'n garetig iawn, Siencyn, yn garetig dros ben. Na, catwch ych gwahoddiad, a'ch lleisa gora. (*Yn edrych ar y cyfeiriad ar y cas llythyr.*) A pheth arall, ffordd gwyddoch mai gwahoddiad i chi yw hwn ? 'Dôs 'na ddim ar yr envelop ond "*The Choir Conductor,*" Llanybryn.

SIENCYN : Fe ddâth y postman ag e i fi.

NATHANIEL : Do, mwy na thepyg, 'rhen Ddai Robarts, aelod o'ch côr chi !

SIENCYN (*yn troi'n ddiflas ar ei sawdl*) : 'Dych-chi ddim yn werth gwastraffu amsar arnoch-chi ! (*A* SIENCYN *allan, a gwelir ef yn sefyll ar y garreg farch.*) Foneddicion a boneddigesa ; ma'n ddrwg gen-i'ch shomi chi, ond 'dwy-i ddim yn bwriatu annerch y cyfarfod 'ma heno, na, hyd y gwela-i, unrhyw gyfarfod arall.

(*Diflanna. Clywir murmur siomedigaeth y dorf, eithr neidia* SAMSON *i'w le ar unwaith.*)

SAMSON : Hannar munad, os gwelwch-chi'n dda. Fel un o gefnocwyr cryfa Mr. Bifan, ac fel pleidleisiwr a threthdalwr yn Llanybryn, alla-i ddim godda i chi wasgaru heb wêd gair ne ddou.

LLEISIAU : Clywch, clywch.

RHIANNON (*yn bryderus*) : Beth ma'n feddwl neud nawr, wn-i ?

SAMSON : Y mae Mr. Bifan yn ormod o foneddwr i gwrdd â'r fath wrthwynebwr â Nathanial Morgan. (*"Clywch, clywch." Eraill yn anghymeradwyo.*) 'Llwn feddwl fod pawb yma wedi darllan y llythyr ymddangosodd yn y "*Gazette*" y bora 'ma ?

LLEISIAU : Do, do.

RHYS : Nawr amdeni ! Ble ma'r Ficar ?

SAMSON : 'Dwy-i ddim am sôn dim, ar hyn o bryd, am ddull Mr. Morgan—y fe o bawb—o ddenu fôts gwŷr yr Eclws. (*Cymeradwyaeth ac anghymeradwyaeth.*) Ond fe licwn-i glwad-a'n atab petwar cwestiwn y llythyr.

LLEISIAU : Clywch, clywch !

NATHANIEL (*yn codi tyn i fyny*) : Fe'i ateba-i nhw, o gnaf !

(NATHANIEL *yn symud tua'r drws.* RHIANNON *a* PRITCHARD *yn ei atal.*)

RHIANNON : Na, na, 'nhad ; pitwch mynd mâs,

RHYS : Drychwch ; ma'r Ficar wedi dod.

(*Gwelir y* FICER *drwy y drws.*)

NATHANIEL (*yn wyllt*) : Gadewch i fi fynd, gadewch i fi fynd ! (*Ataliant ef.*)

Y FICER : Fe garwn-i, gyda'ch caniatâd, i ddweyd gair ynglŷn â'r llythyr yna. (*Cymeradwyaeth gref.*)

SAMSON : Gyda'r pleser mwya, Mr. Jones. (*Esgyn y* FICER *y garregfarch.*)

Y FICER : Annwyl Gyfeillion, caniatewch i mi ddweyd ar y dechre, nad oes yno-i'r awydd lleia i farnu rhwng, i gymeradwyo nac i anghymeradwyo naill ai Mr. Morgan na Mr. Bifan. Er hynny, dymunaf ddiolch i chi o galon am eich cefnogeth ragorol i'r *raffle.* Yn ystod y tri diwrnod aeth heibio, gwerthwyd mil o docynne heb fynd dros derfynau'r plwyf. Argreffir mil arall o docynne i gyfarfod â'r ceisiade lluosog ddaw atom o bob cyfeiriad.

LLAIS (*yn anamyneddgar*) : Beth am y llythyr ?

Y FICER : Ynglŷn â'r llythyr, fe fues-i'n siarad â Mr. Morgan neithiwr, nid o ran y mod i yn ei ameu

yn y modd lleia, ond mae yn ddyletswydd arnaf i'ch sicrhau chi y bydd i Mr. Morgan gyflawni ei addewid yn llwyr ac yn anrhydeddus. (*Cymer adwyaeth.*) Heblaw hynny, y mae gen-i yma (*gan ddangos bapuryn*) ymrwymiad, wedi ei law-nodi gan Mr. Morgan i'r perwyl hynny.

(*Curo dwylo a banllefau lawer.* Y FICER *yn disgyn.*)

LLAIS (*yn watwarus*) : Dyna un ym môn ych clust chi, Samson !

SAMSON (*yn neidio i fyny*) : Iefa ? Wel dyma un ym môn dy gern ditha ! Dyma un i bawb ohonoch chi, hyd yn ôd i'r Ficar. (*Yn bwysleisiol iawn.*) Foneddicion a boneddigesa, ma'r fuwch wedi marw ! (*Cyffro a dwndwr.*) Y mae wedi marw er's petar awr ar ucian.

LLAIS : Allwch chi brofi hynny ?

SAMSON : O galla (*yn wynebu'r ffenestr*). Mr. Morgan, fyddwch chi cystal a dod mâs 'ma am funad.

(*Ymysgwyd* NATHANIEL *yn rhydd oddiwrth* RIANNON *a* PRITCHARD *gan ruthro allan, a thyn bara dan ei fraich.*)

NATHANIEL (*ar y garregfarch*) : Do, do, fe fuws y fuwch farw nithwr (*yn gyffrous*). Ond ffordd buws-hi farw ? *Foul play,* gyfeillion, *foul play.* (*Lleisiau croch yn gweiddi, "Cwilydd, cwilydd"*) Pwy laddws-hi ? (*Deil* NATHANIEL *y*

*tyn hyd braich uwch ei ben.*) Dyna'r dirgelwch, a dyma'r esboniad ar y dirgelwch. 'Dodd y fuwch ddim yn hannar da ddo, a beth digwyddws ? Fe ddath dyn ati, fel lleidr liw nos, a chyn pen pum munad 'rôdd-hi'n gorff marw. (*Bloeddiadau digllon "Pwy ôdd-a ?"*) Ia, pwy ôdd-a ? Fe wyddon o'r gora pwy ôdd-a. Ma ôl i drôd-a yn y tyn 'ma, a ma gen-i brofion erill heblaw hynny. Gaf-fi wêd pwy ôdd-a ?

Y DORF : Cewch, cewch.

NATHANIEL : Chretwch-chi ddim ohono-i.

Y DORF : Gnewn ; gwetwch pwy ôdd-a.

NATHANIEL : O'r gora, fe weta-i pwy ôdd——

(*Gwelir* NATHANIEL *yn siglo mewn syfrdandod. Syrth y tyn o'i law, a llygadrytha* NATHANIEL *tua'r chwith mewn braw a dychryn. Clywir y dorf yn dechreu chwerthin ac yna grechwen mawr, a banllefau direidus.*)

RHYS : Beth sy 'na, beth sy'n bod ?

(*Rhed* RHIANNON *tua'r drws.*)

RHIANNON (*yn codi ei breichiau*) : O diolch, diolch byth !

RHYS : Beth sy ?

RHIANNON : Y fuwch, y fuwch ! Ma Tudor yn dod â hi, a ma-hi'n carlamu lawr drw'r pentra fel eidion blwydd !

LLEN.

## Y BEDWAREDD ACT.

ADEG: *Ymhen ychydig ddyddiau.*

LLE: *Tu allan i borth mynwent Llanybryn.*

[*Rhed mur terfyn y fynwent, a'r porth ynddo, ar letraws o'r llaw dde, tua chanolbwynt y chwareufa, yn y cefn. Llwybr graean yn arwain o'r chwith at y porth, a glaswellt o bob tu iddo. Y mae'r Eglwys o'r golwg, eithr saif ar fryn, yn gyson a'i henw, a rhwng wal sych o gerrig di-nadd yn y cefn, a'r coetir gyfyd yn y pellter y tu hwnt, gwelir, i lawr yn y cwm, gongl o'r pentre, ychydig dai tô gwellt wedi eu gwyngalchu, ffermdy yma a thraw ac ambell gapel. Hwyrddydd teg yn yr haf ac olion gwrid machlud haul yn des cyfareddol ar y cyfan. Ymddengys* RHIANNON, MARGED ANN *a'r* M.O.H.]

RHIANNON: Dewch mlân, Margad Ann. Ma 'na flynydda odd'ar y buoch chi lan yma o'r blân.

MARGED ANN (*dan bwffian*): Os, 'y merch-i, flynydda lawar hefyd, ag ôdd'y ngwynt-i dicyn yn well prynny nag yw-a nawr (*Yn symud yn drafferthus*) heb sôn am yr hen aelota 'ma. Otych chi siwr y bydd telyn yn whara yn y *Bazaar?*

RHIANNON: Otw, otw; fe'i clywch hi cyn pen fawr amsar. (*Erys* RHIANNON, *gan edrych tua'r*

*Eglwys.*) 'Drychwch Tudor, ond yw'r hen Eclws yn edrych yn ardderchog o'r man hyn ?

M.O.H. (*yn ddifrifol, ac yn syllu*) : Oti y ma-hi.

MARGED ANN : Fe wela-i rwpath llawar mwy ardderchog.

(*Honcia* MARGED ANN *dros y glaswellt tuag at fainc garreg wrth ochr y porth, lle yr eistedd gan wynebu y gynulleidfa. Oherwydd goleddf y mur ni all neb ddaw ar hyd y llwybr ei gweld.*)

RHIANNON (*yn sefyll yn yr un man*) : Welwch-chi hi, mor fawreddog, mor henafol, fel darn o hen graig, yn rhan a chyfran o'r mynydd tu cefan. (*Try yn awr gan daflu golwg ar hyd y cwm.*) Welwch-chi'n capeli bach ninna (*yn cyfeirio bys a chyfrif*) un, dou, tri, petwar ; ma nhw i weld yn ddinod o'u cymharu â hon, yn ddistadl iawn—fel rwpath dros amsar !

M.O.H. : Chi'n meddwl 'ny ?

RHIANNON : Otw (*bron yn ddiystyrllyd*) ma nhw fel sguboria.

M.O.H. : Falla'u bod nhw, ond cofiwch, yn y scubor ceson-ni'r patrwm.

MARGED ANN : Wel, wel, fysa neb yn meddwl wrth ych clwad chi'ch dou yn sharad, ych bod chi'n caru.

RHIANNON (*heb sylwi ar* MARGED ANN) : Popath o'r gora, 'dwy-i ddim yn anghofio cyfnod y scubor, ond ma'n rhyfadd yn bod ni heb feddwl am ddim

byd harddach erbyn hyn, ar ol dou can mlynadd a mwy. 'Rwy wedi ryfeddu lawar tro pam na chynyrchws Anghydffurfiaeth Cymru ddim byd gwreiddiol a chain mewn pensaerniath.

M.O.H. : Na, dim rhyw lawer mewn cerrig a chôd.

RHIANNON : Miwn beth ta ?

M.O.H. (*yn gwenu'n hoffus arni*) : Ymhlith amryw ragoriaetha erill, amball i B.A. swynol iawn.

MARGED ANN : Dyna rwpath mwy tebyg i garu nawr.

RHIANNON (*try eto at yr Eglwys*) : Ond welwch chi honna. Ma-hi'n mynd â'r meddwl 'nol fil a mwy o flynydda. Fe fuws yn dyst o'r digwyddiata mwya cyffrous a'r cyfnewidiata dyfna yn hanas y Cymry (*yn troi at y cwm*). Ond y rhain, faint an' nhw â chi'n ol ?

M.O.H. : Fawr iawn ; ond er hynny, fe wela-i hen bobol, yn drician a thrician a deg yn dysgu darllan iaith 'u mama. (*Yn nesu at y mur yn y cefn gan sefyll uwchlaw'r cwm.*) Ia, sguboria, os mynnwch chi, heb fawr hynafiath iddyn nhw, er fod rhai o'r trawstia falla'n pydru, ond 'rwy'n gweld amsera tywyll a garw, pan nad odd gan y werin yr un noddfa arall nac ymgeladd rhag gorthrwm a thrais.

RHIANNON : 'Rych-chi'n sharad yn wherw iawn.

M.O.H. : Gwarad rhag i neb fod yn wherw nawr a ninna ar dir y cymod. O, na. (*Yn troi at yr Eglwys gan ddiosg ei het a llefaru'n ddwys.*) Hawddamor i'r fam sy'n rhydd o'i chadwyna, boed iddi ei lle a'i dylanwad priotol ym mywyd ein cenedl (*yn troi eto at y cwm*) ond anghofiwn ni fyth 'mo'r hen sguboria !

MARGED ANN : Yn enw'r bendith, gadewch ych clepran, y chi'ch dou. Gwyn fyd na fysa'r delyn yn dechra whara.

RHIANNON (*yn symud tua'r canol*) : O, fe'i clywch hi nawr. Rhaid gen-i ta ar noswaith fel hon, 'rôdd 'na ryw Riannon arall, genedlaetha'n ol yn dawnso i'r delyn ar damad o laswellt fel hwn. 'Dyn-ni byth yn dawnso nawr, ddawnsia awyr-agorad, yn ol dull yr hen dada.

M.O.H. : Na ; 'dyn ni ddim.

MARGED ANN (*yn fywiog*) : Dyna hi !

(*Clywir ar dannau'r delyn, geinciau agoriadol "Serch Hudol." Gwrendy* RHIANNON *yn astud am ennyd, ac yna gwelir hi yn symud yn naturiol i fydrau yr hen alaw, a'i hysgogiadau yn rhydd ac hylaw.*)

RHIANNON (*gan ddawnsio*): Dewch, machgan-i, dawnswch. Raid fod 'na ryw Dudor hefyd genedlaetha'n ol yn dawnsio gita-i Riannon. Dewch ! (*Yntau yn ufuddhau, gan gadw amser gweddol, er fod ei symudiadau dipyn yn afrosgo.*)

MARGED ANN (*yn chwerthin*): O'r iechyd! Tsa Siencyn a Nathanial ddim ond yn gallu'ch gweld chi nawr.

(*Cyn hir syrth yr* M.O.H. *yn lledchwith i'r llawr a chwarddant ill tri. Saif* RHIANNON.)

MARGED ANN: Druan a chi, fyddwch chi byth hannar mor ystwyth a'r hen dada.

M.O.H. (*yn codi*): Wn i yn y byd! Fysan-ni fawr o dro cyn dod iddi.

RHIANNON: Na fysan; ma dawnso i'r delyn mor naturiol a'r dŵr.

M.O.H. (*yn symud at y porth*): Wel, cystal i ni fynd miwn.

RHIANNON: Ia; fe ddylsan brynu rwpath yn y *Bazaar*. Dewch mlân, Margad Ann.

MARGED ANN: Na ddwa-i. Tsa'ch tad 'mond clwad mod-i wedi cydgerad gita-chi'ch dou i'r Eclws, fysa 'na fawr o groeso i fi yn Nôl-yr-Onnan.

(*Diflanna* RHIANNON *a'r* M.O.H. *drwy y porth. Ymddengys* DAFYDD A RHYS *ar y chwith, heb fedru gweld* MARGED ANN.)

DAFYDD: Ia, ia, ond gwetwch-chi beth fynnwch chi, ma'r fuwch yn fyw.

RHYS: Wel, 'rwy-i o'r farn i'r Doctor achub 'i bywyd-hi.

DAFYDD: Achub 'i bywyd-hi! Fe'i atgyfotws hi o blith y marw. Ond dyna, 'rôdd 'rhen wraig 'i

famgu yn gallu rhipo, meddan-nhw, a fe 'llwch fentro fod rhyw ddawn felna yn y teulu.

RHYS: Synnwn-i ddim. (*Ymddengys* TOMOS JONES *ar y dde gan ddal neisied wrth ei gern.*) Helo Tomos, beth sy'n bod?

TOMOS JONES (*yn sarrug*): Beth sy'n bod yn wir! Beth sy'n bod ar Isaac Lewis, os gwyddoch-chi. Drychwch ar 'y ngwynab i. Dyna farbwr, ontefa!

(*Dengys ei gern waedlyd iddynt.* MARGED ANN *yn gwrando.*)

DAFYDD: Drychwch ar 'y ngwynab inna hefyd Fe'n shafws i nithwr. Chaiff a byth mo'n shafo-i eto.

TOMOS JONES: Chaiff-a byth mo'n shafo inna chwaith, tswn-i'n gorffod macu wishgars hyd y llawr. 'Dwy-i ddim yn diall: 'dôdd 'na ddim gwell barbwr na Isaac yn arfar bod yn y wlad, ond nawr, ma-fa fel dyn wedi torri 'i galon.

DAFYDD (*yn gwenu*): Wy-i bron a chretu 'i fod-a wedi colli swm o arian yn ddweddar.

(MARGED ANN *yn llon iawn.*)

TOMOS JONES: Pwy, Isaac? Fuws eriod arian gitag-e i golli.

RHYS: Pitwch chi a chamsyniad. 'Dwy-i ddim yn cretu i fod-a wedi colli arian. Gwâth

lawar, ma fa wedi cal *shock*. Tsa chi ddim ond gwpod y cwbwl am Isaac !

(MARGED ANN *yn cymryd diddordeb mawr.*)

TOMOS JONES : O !

RHYS : Ia ; ond dyna, 'run man i fi wêd, wâth fe fydd pawb yn gwpod cyn bo hir. 'Rych chi'n cretu fod Isaac yn dlawd, ond wyddoch-chi fod a'n berchan ar wech o dai, a fod rheiny ar werth !

(MARGED ANN *bron a syrthio oddiar y fainc.*)

DAFYDD : Be chi'n sôn ! A ble ma nhw ?

RHYS : Ma 'na ddou yn y Gilfach, un ar y Graigddu, a thri yn y Pandy.

TOMOS JONES : A pham ma Isaac am 'u gwerthu nhw ?

RHYS (*yn bwysleisiol iawn*) : Ma Isaac yn mynd sha 'Merica.

(MARGED ANN *mewn braw.* DAFYDD *a* TOMOS JONES *yn syn.*)

DAFYDD : Be chi'n gisho wêd, Rhys !

RHYS : Y ma-fa. Bachgan ryfadd iawn yw Isaac, a 'dos 'na fawr iawn yn 'i ddiall-a. Wyddoch chi, ma-fa wedi bod am ucian mlynadd yn whilo am wraig.

TOMOS JONES : Y cratur dwl 'ny ! Pam na fysa-fa'n crypwll rwpath ynghylch y tai ?

DAFYDD : Wech o dai. A ma nhw i gyd yn rhydd ?

RHYS : Nagyn ; ma 'na ryw gan punt yn aros ar un o honyn nhw. (MARGED ANN *yn myfyrio.*) O oti : ma Isaac wedi câl shom fawr, ond fe gaiff ddial arnyn nhw i gyd nawr.

TOMOS JONES : Dial, ar bwy ?

RHYS : Meddylwch am yr oll hen ferched a'r gwidwod sy wedi'i wrthod-a. Pan glwan-nhw am y tai, fe fydd 'na wylofan a rincian dannadd.

DAFYDD : Druan ag e. Wel ble ma nhw i gyd heno ? On-i'n disgwl gweld ran fwya o'r pentra lan 'ma.

TOMOS JONES : *Lodge Good Templars* heno bachan ! 'Dyn nhw ddim wedi dod mâs eto.

RHYS (*yn edrych lawr i'r cwm*) : Dyma nhw'n dod nawr.

DAFYDD (*yn symud tua'r porth*) : Wel, ma'r un man i ni fynd miwn. Fe ddylsan glwad result y *raffle* cyn bo hir.

TOMOS JONES : Ma'r Ficar yn mynd i gyhoeddi, *result* o ben y wal, man hyn.

RHYS : Fe 'llwn fynd miwn am funad.

(*Diflanna* RHYS, DAFYDD, *a* TOMOS JONES *drwy y porth. Gwelir fod* MARGED ANN *mewn synfyfyrdod a chyn hir ymddengys* ISAAC *ar y chwith, â'i wynebpryd yn bruddaidd a'i osgo'n llesg. Cerdd gam neu ddau ar hyd y llwybr ac yna try'n sydyn i gymryd cipolwg olaf ar yr hen gwm sydd odditano. Pan glyw* MARGED ANN *sŵn ei*

*draed, tremia yn wyliadwrus heibio i gongl colofn y porth, a phan genfydd* ISAAC, *tyn ei phen yn ol yn frysiog. Sylwir fod y widdones yn cynllwynio rhyw ddireidi pellach. Ymhen tipyn, clywir hi, ei llygaid ynghau, ei breichiau ymhleth, a gwên ar ei hwyneb, yn dechreu hwmian Tôn-y-Botel. Try* ISAAC *mewn syndod a braw. I'w ddychymyg pruddaidd ef, ymddengys yr alargan fel pe yn dod o fysg meirw'r fynwent. Cerdd yn araf tua chyfeiriad y seiniau ar ddelw un yn cyfeirio ei gamrau tuag at dynged anocheladwy. Gan fod* MARGED ANN *o'r golwg, ni wel* ISAAC *hi nes cyrraedd wrth ei hochr. Hithau, pan egyr ei llygaid a chanfod gŵr wrth ei phenelin, a ffugia yn fedrus iawn ddychryn llesmeiriol nes peri i* ISAAC *druan doddi yn swp o gydymdeimlad pryderus.)*

ISAAC (*yn angladdol*) : Peth diarth iawn ych bod chi yn canu mor alarus a finna yn etrych lawr i'r cwm.

MARGED ANN : Peth diarth iawn hefyd, ych bod chitha'n wastod wrth law pan y bydda inna yn alarus. A pham och-chi'n etrych lawr i'r cwm ?

ISAAC : Wela-i byth mo'r hen gwm annwl 'ma o ben y bryn hyn eto. 'Don-ni ddim ond roi ffarwel. Ma'n raid i fi fynd.

MARGED ANN : Mynd !

ISAAC : Ia mynd, a mynd ymhell.

MARGED ANN : 'R wy'n synnu atoch-chi, Isaac, a chitha ar enw dyn. Y chi ddâth a'r holl helbul 'ma ar ben Nathanial ; y chi nâth iddo sefyll lecshwn, y chi soniws gynta am y fuwch wrth y Ficar, a nawr, pan ma'r truan yn colli'r dydd, 'rych-chi'n troi'ch cefan arno yng nghanol 'i draffarth.

ISAAC : Pam ddotas-i ymhen Nathanial i sefyll lecshwn ? Fe wyddoch o'r gora. A pham ma'n rhaid i fi fynd nawr, fe wyddoch hynny hefyd. Y chi yn unig yw'r achos mod i'n gatal y pentra lle ceso-i 'ngeni a'm macu.

MARGED ANN : Dyna hi, dotwch y bai i gyd ar y fenyw druan. Ond beth allwch chi wêd am ddyn sy'n caru menyw pan bo hi'n gyfoethog a throi 'i gefan arni pan bo hi'n dlawd ?

ISAAC : Beth allwch chitha wêd am fenyw sy'n troi 'i chefan ar ddyn pan bo hi'n gyfoethog, ond yn cynnig 'i brioti-a pan bo hi'n dlawd.

MARGED ANN (*ar fin wylo*) : Nid y fi och-chi'n moyn.

ISAAC : Wel, pam wy-i'n mynd bant nawr ta ?

MARGED ANN (*yn lleddfu nawr*) : 'Dych-chi ddim dyn ifanc, Isaac, i fynd i wlad bell.

ISAAC (*yn dyner iawn*) : Ond dyn ifanc iawn fyswn-i, twsn-i'n câl aros yma gita chi.

MARGED ANN (*yn newid ei thôn*) : 'Ryn-ni'n dou yn rhy hen i glepran dwli fel hyn ! Drychwch

'ma, Isaac, dyma gynnig teg i chi : os gallwch chi ddangos cymant o arian i fi ag y galla-i ddangos i chi, 'dos dim raid i chi fynd.

ISAAC : Otych-chi'n sharad o ddifri, nawr ?

MARGED ANN : Otw.

ISAAC : Beth wetsach-chi tswn-i'n dangos deng waith cymant a chi.

MARGED ANN : Fe wetswn ta nid y chi ôdd 'i pia nhw.

ISAAC : Fe fysach ymhell o'ch lle.

MARGED ANN (*syndod mawr*) : Ymhell o'm lle !

ISAAC : Bysach. Fe 'lla-i ddangos deng waith cymant yn rhwydd.

MARGED ANN : Deng-waith cymant ! (*Yn hunanaberthol iawn*). Na, na, Isaac bach, ma'n well i chi fynd. Beth wetsa'r byd amdano'i—mod i wedi'ch prioti chi am ych arian.

ISAAC (*yn agos iawn ati*) : 'Y merch annwl-i ; pwy raid i ni ofalu dim am glepar y byd, a ninna'n gwpod gwell. Na, dwy-i ddim yn mynd bant a chitha'n barod i 'ngymryd-i. 'Rwy'n teimlo bron yn rhy hapus i fyw. Meddylwch amdanon-ni, Margad Ann, acha noswath dywyll yn y gaea, y chi'n ishta un ochor i'r aelwyd, a finna'r ochor arall a'm llyced arnoch-chi.

MARGED ANN (*yn gwenu'n siriol*) : Ia ?

ISAAC (*â'i fraich ar ei gwar*) : A chitha, Margad Ann, mor hapus——

MARGED ANN (*yn troi ei hwyneb tuag ato*) : Ia, mor hapus——yn caead ym llyced !

(*Clywir lleisiau ar y chwith. Diflanna* MARGED ANN *ac* ISAAC *drwy y porth. Ymddengys* SIENCYN BIFAN, SAMSON, *a phentrefwyr.*)

SAMSON : Gwrandewch arno-i. 'Rych-chi'n ennill y lecshwn yn rhwydd. Gadewch i fi drefnu cyfarfod cyhoeddus ar y sgwar nos yfory.

SIENCYN : Na ; dim racor o gyfarfotydd i fi. 'Rwy wedi câl mwy na dicon arnyn nhw.

SAMSON : Ond 'rych-chi'n ffôl iawn i dynnu'n ol o'r lecshwn nawr. Ma pawb gita chi, a dos neb yn cretu fod y Doctor wedi gneud dim o le.

PENTREFWR : Na, fe ŵyr pawb yn wahanol. Pitwch tynnu'n ol nawr, Mr. Bifan. Ma hi ar ben nawr ar Nathanial Morgan, wâth ma llawar o aelota'i gapal e 'i hunan wedi troi yn 'i erbyn-a.

(*Ymddengys* TIM WATKINS *ar y chwith a daw* ISAAC LEWIS *i'r golwg yr ochr arall.*)

SAMSON : Helo, Tim, beth wyt ti'n moyn 'ma heno ?

TIM (*yn dangos hanner dwsin o docynnau*) : Beth ych-chi'n feddwl wy'n moyn ? Pryd cewn-ni glwad *result* y *raffle* ?

SIENCYN : Wyt ti ddim wedi cerad bob cam o Gwm Lluest er mwyn y *raffle* !

TIM : Otw ; a 'rwy'n folon cerad nol hefyd os ennilla-i'r fuwch. O ia, beth am 'steddfod Pontypridd, Mr. Bifan, beth yw'r draffarth yn Llanybryn ? 'Dych-chi ddim yn bwriatu mynd â chôr i Bontypridd ?

SIENCYN : Nagw.

TIM : Wyddoch-chi beth ma nhw'n wêd yng Nghwm Lluest ? Fod ofan arnoch-chi.

(*Y pentrefwyr yn gwawdio ; rhai yn gweiddi " Ofan yn wir ! " Gwêl* TIM ISAAC.)

TIM : Helo, Isaac, beth am Nathanial ? Os ofan arno fe hefyd ?

(*Ymddengys* NATHANIEL *ar y chwith. Erys yn ddisylw gan y dorf a gwrendy.*)

ISAAC : Nagos, 'dôs dim ofan ar Nathanial. Ma fa'n folon mynd â chôr os aiff Mr. Bifan â un hefyd.

TIM : Ho, ho ! Un yn taro'r bai ar y nall, iefa ? Tsa-chi 'mond clwad côr Cwm Lluest ! Sôn am *sopranos !* Dyna gyfla i chi ddangos beth all Llanybryn neud. Nid cystadlu â chôra bach am bymthag ne ucian punt, cofiwch, ond gwopor o gan punt a chôr o ddou cant. Os, ôs, ma ofan arnoch-chi.

AIL BENTREFWR : Cheson-ni eriod achos i fod ag ofan Cwm Lluest, ta pun.

(*Y dorf yn cymeradwyo.*)

PENTREFWR CYNTAF : Cerwch â ni i Bontypridd, Mr. Bifan, fe ddangoswn-ni iddyn nhw ffordd i ganu.

SIENCYN : Na, os af fi â chôr, fe aiff Nathanial â chôr hefyd.

SAMSON : Gadewch iddo fynd â chôr ; fe'i maeddwch-a'n rhwydd, fel y maeddsoch-chi a o'r blân.

SIENCYN : Ond ddelsa dim un o ni â'r wopor 'nol.

PENTREFWR CYNTAF : Pam lai ? Ma Llanybryn wedi ennill yn y 'Steddfod Genedlaethol cyn hyn.

SIENCYN : Do, ond ôdd na ddyn prynny yn ddicon cryf i dacu pob cynnan a ffra, ac yn uwch o'i ysgwydda na phawb arall i'n harwan ni. Os ewch-chi â dou gôr i Bontypridd, ennilliff dim un ohonyn nhw. Cerwch ag un côr, a hwnnw'n cynnws lleisa gora Llanybryn, falla y llwyddwch-chi.

(*Ymddengys* RHIANNON, MARGED ANN, *yr* M.O.H., PETERS, PRITCHARD, *a* TOMOS JONES, *o un i un.*)

AIL BENTREFWR : Pam nag ewch-chi â ni ta ?

SIENCYN : Am nag ych-chi damad gwell o fynd â'r côr gora os nag ewch-chi â'r arweinydd gora hefyd.

SAMSON : Ond y chi yw'n arweinydd gora ni !

SIENCYN : Nace.

SAMSON : Wel pwy ta ?

SIENCYN : Nathanial Morgan.

(*Y pentrefwyr yn rhyfeddu.*)

PENTREFWR CYNTAF : Ond fe'i maeddsoch-a ddwywaith o dair. Y chi enillws ym Mhen-yr-Englyn.

SIENCYN : Ia falla, gen-i ôdd y lleisa gora, ond fe faeddws Nathanial fi yn Hendrefadog gita'r un lleisa.

SAMSON : Wel, chi gas y wopor yng Nghraig yr Eos.

SIENCYN : Ia, ond ys gwetws Nathanial, nid y fi enillws. Cerwch â chôr gora Llanybryn i Bontypridd, a mynnwch Nathanial Morgan yn arweinydd. Fe ŵyr fwy am gerddoriath nag a wn-i, a fe yw'r arweinydd gora.

(*Daw* NATHANIEL *ymlaen. Sylwir fod geiriau* SIENCYN *wedi effeithio'n ddwys arno.*)

NATHANIEL (*yn gryglyd*) : Ia, Siencyn, synnwn-i fawr na wn-i fwy am gerddoriath nag a wyddoch chi, a falla ta fi yw yr arweinydd gora ond (*yn estyn ei law*) 'rych chi lawar mwy o ddyn nag wy-i.

SIENCYN (*yn ymaflyd yn ei law*) : O na, y mâ 'na Nathanial Morgan——

NATHANIEL : Os (*fel un yn ymson, gan dremio ymhell*) : y mâ 'na Nathanial Morgan, ond nid yn

amal y bydda-i yn 'i deimlo fa. Nawr ac yn y man yn y cwrdd gweddi ; bryd arall ar yr hen fynydda 'ma, pan bo'r awal yn cusanu'r borfa, ond rhan amla pan yn arwan 'y nghôr. Mâ 'na Nathanial Morgan prynny all esgyn i'r lan—i'r lan—i'r lan (*yn estyn ei freichiau i fyny*) y lleisa ardderchog, y gerddoriath nefoladd—*grand—grand—grand !* (*Yn cyfnewid ar unwaith, yn swp bychan crebachlyd.*) Ond 'dyw hyna 'mond rhan fach iawn ohono-i. Na (*gyda mesur o hunan-ddirmyg*) dyna fi yn y lecshwn, dyna fi yn yr hen fuwch, dyna fi yn y tyn bara !

SIENCYN : O na ; dyna'r rhan leia ohonoch-chi tsa chi ddim ond gallu cretu 'ny.

NATHANIEL (*yn troi yn chwim at y dorf*) : Ond 'rwy'n barod i'ch harwan chi i Bontypridd. Ddewch-chi ?

Y DORF : Dewn.

TOMOS JONES : Beth am y lecshwn ?

NATHANIEL : 'Rwy'n tynnu'n ol. Otw, Siencyn, fe gewch fod yn *Rural District Councillor* a chroeso. Ma'n ddrwg gen-i i fi eriod ddod yn ych herbyn chi. A ble ma'r bachgen, ble ma'r mab ?

M.O.H. : Dyma fi.

NATHANIEL : Ma'n ddrwg gen-i hefyd am y tyn bara. Os ôs 'na rwpath y galla-i neud i———

(*Daw* RHIANNON *ymlaen gan fachu ei braich ym mraich yr* M.O.H. *a gwenu ar ei thad. Saif*

NATHANIEL *mewn penbleth gan gosi ei ben. Yna try at* SIENCYN.)

NATHANIEL: Wâth i chi beth, Siencyn (*gan gyfeirio ar y pâr ieuanc*), 'llwn feddwl ta fel hyn ôdd-hi i fod!

SIENCYN: Ia, Nathanial, mwy na thepyg ta felna ôdd-hi i fod.

NATHANIEL (*wrth y pentrefwyr*): Fe ewn i Bontypridd, ond ewn-ni?

PAWB: Ewn, ewn.

NATHANIEL (*â'i lygad ar* TIM WATKINS): Fe gan weld faint o ofan sy ar Llanybryn.

PAWB: Cân.

NATHANIEL: Fe fydd gen-i ddou gant o'r lleisa gora fuws miwn steddfod eriod.

ISAAC (*yn fywiog iawn*): Bydd; y *tenors* a'r *Sopranos* o Seion.

(*Rhan o'r dorf yn cymeradwyo.*)

TOMOS JONES: Yr *altos* a'r *bass* o Carmal.

(*Rhan arall yn cymeradwyo.*)

DAFYDD (*yn gynhyrfus*): Ma 'na gystal *altos* a *bass* yn Pisgah.

RHYS: A ma 'na well *tenors* a *sopranos* yn Nebo nag yn unrhyw gapal arall!

(*Wbwb a therfysg! Cefnogir honiadau Seion, Carmel, Nebo, a Phisgah gan y gwahanol bleidwyr. Ffraeo tanllyd a phob un ymhen 'i gilydd hyd nes*

*i* SIENCYN BIFAN *frasgamu i'w mysg a hawlio gosteg.*)

SIENCYN (*yn uchel*) : Tewch sôn, y nyfath gecrus 'ny ! Dyma chi eto, fel ym mhopath arall——

(*Cerdd yn ddiflas o'u plith gan ymneilltuo i'r dde. Ymdawelant am ennyd, yna curant ddwylo, canys esgynasai y* FICER *y mur yn ystod y dwndwr, a chanddo sachell yn ei law.*)

Y FICER : Foneddigion a Boneddigesau ; Cyn ymgymeryd â phenderfynu *result* y *raffle,* caniatewch i mi, unwaith eto, i ddiolch i chi, ac hefyd i'r cannoedd sy'n methu bod yma, am ych cefnogeth haelionus. Gwerthwyd y tri tocyn olaf o'r ail fil bum munud yn ol. Carwn hefyd i ddatgan, ar ran Eglwys Llanybryn, ein diolchgarwch gwresocaf i Mr. Nathaniel Morgan, am ei anrheg ardderchog. Fel y gŵyr pawb ohonoch, gorfu i'r Eglwys, ar adegau yn y gorffennol, geisio cyfraniadau oddiwrtho (*chwerthin*), a bron yn ddieithriad, fe'n derbynid â bilwg, cryman, a phladur. (*Amneidia* NATHANIEL *ei ben yn foddhaus.*) Ond heddyw, Dyma Mr. Morgan yn ein bendithio, o wir fodd ei galon, â buwch Gymreig, o'r radd flaenaf. Anturiaf feddwl y bydd coffa am hon fel buwch y cymod. Hyderaf, gyda llaw, y bydd iddi urddfreinio cyfnod o gydymdeimlad ac ewyllys da, rhwng yr hen fam ar y bryn a'r plant sydd obry. (*Cymeradwyaeth a churo dwylo.*) Y mae yn y cwdyn yma ddwy fil

o bapurau wedi eu niferu'n olynol. Ma'n ddrwg gen-i nad yw Arglwyddes Llanharan yn bresennol i ddewis y rhif buddugol, ond yn ffodus iawn, y mae yma un wna'r tro yn rhagorol yn ei lle. Miss Morgan, fyddwch chi mor garedig a gosod ych llaw yn y sach a thynnu allan bapuryn.

(RHIANNON *yn esgyn y mur, a'r pentrefwyr yn cymeradwyo. Gesyd ei llaw yn y sach a thyn allan bapuryn gan ei roddi i'r* FICER.)

Y FICER : Y rhif buddugol ydyw "1918."

TIM WATKINS (*yn siomedig, gan ddangos tocyn*) : 1917 !

Y FICER : 1918. Oes yma rywun â'r tocyn yna ? (*Neb yn ateb.*) Neb ? O'r gore, fe gyhoeddir y rhif buddugol eto, yn y "*Gazette*" yr wythnos nesaf.

(*Yn y cyfamser, gwelir* SIENCYN *yn chwilio ei logelli heb dynnu sylw neb o'r dorf. O'r diwedd daw o hyd i docyn.*)

SIENCYN : 'Sgusotwch-fi, Mr. Jones, beth wetsoch-chi ôdd y numbar ?

Y FICER : 1918.

SIENCYN (*yn wên o glust i glust*) : Wel, dyma fe.

(*Estyn y tocyn i'r* FICER, *a chwardd pawb yn llawen.*)

NATHANIEL (*yn siriol, gan estyn ei law*) : Wel, dyma beth yw buwch y cymod !

Y FICER: Mae'n hyfrydwch mawr gen-i gyhoeddi mai'r buddugwr ydyw Mr. Siencyn Bifan un o ymgeiswyr—

(*Cydia* RHIANNON *yn llawes y* FICER *gan esbonio nad yw ei thad yn ymgeisydd mwyach.*)

Y FICER: O, wyddwn-i ddim o hynny. Fe ddylswn ddweyd mai'r buddugwr ydyw Siencyn Bifan, *Esq., Rural District Councillor* dros Llanybryn. *Three cheers* i Mr. Bifan, *Hip, hip,—*

Y DORF: Hwre.

Y FICER: *Hip, hip,—*

Y DORF: Hwre!

Y FICER: *Hip, hip,—*

Y DORF: Hwre!

SIENCYN (*yn symud tua'r canol*): A nawr, *three cheers* i Nathanial Morgan. *Hip, hip,—*

NATHANIEL (*â'i fraich i fyny*): Na, ddim i fi, os gwelwch-chi'n dda. Ma gen-i well cynnig na hwnna. Er mwyn dechra'n ddidroi ar gyfnod y cydymdeimlad a'r ewyllys da—*Three cheers* i'r Ficar—*Hip, hip,—*

Y DORF: Hwre!

NATHANIEL: *Hip, hip,—*

Y DORF: Hwre!

NATHANIEL: *Hip, hip,—*

Y DORF: Hwre!

LLEN.




# FOREIGN CLASSICS IN WELSH.

## (CYFRES Y WERIN.)

---

**YN BAROD EISOES** (*Now Ready*).

1. **BLODEUGLWM O ENGLYNION:** Detholiad W. J. GRUFFYDD. 2/- net.
2. **DYCHWELEDIGION:** Drama gan IBSEN, *cyf.* T. GWYNN JONES. 2/- net.
3. **Y MARCHOG:** Ystorïau gan MAUPASSANT, *cyf.* MRS. GRUFFYDD. 2/- net.
4. **Y WERS OLAF:** Ystorïau gan DAUDET, *cyf.* MOELONA. 2/6 net.
5. **BRENIN YR ELLYLLON:** Nofel fer gan GOGOL, *cyf.* GWILYM DAVIES a HENRY LEWIS. 2/6 net.
6. **YSTORÏAU BOHEMIA:** Detholiad o waith awduron TSECH, *cyf.* T. H. PARRY-WILLIAMS. 2/6 net.
7. **GEIRIAU CREDADUN:** Gan LAMENNAIS, *cyf.* WM. AMBROSE BEBB.
8. **Y CYBYDD:** Comedi gan MOLIERE, *cyf.* I. L. EVANS.

**AR WAITH** (*In Preparation*).

9. **GWILYM TELL:** Drama gan SCHILLER, *cyf.* ELFED. (Mewn barddoniaeth.)
10. **FAUST:** Gan GOETHE, *cyf.* T. GWYNN JONES. (Mewn barddoniaeth.)